# DAN YR HELYG



GWILYM WILLIAMS, B.A.

# Dan yr Helyg

## Gwilym Williams, B.A.



Er Cof Serchus am ein hannwyl frawd
y cyhoeddir y Gyfrol hon gan ei

Frodyr a'i Chwiorydd.

LLANELLI:
ARGRAFFWYD GAN JAMES DAVIES A'I GWMNI, CYF., HEOL MURRAY.
1917.

# CYNHWYSIAD.

# Rhagair.

RHODDIR lle amlwg y dyddiau hyn mewn llenyddiaeth Seisneg i lenorion a beirdd ieuainc sydd wedi syrthio yn y Rhyfel. Ac y mae hynny fel y dylai fod, er mwyn eu cadw hwy mewn cof ac er mwyn i'r genedl ganfod gwerth yr aberth wneir drosti. Gwnaed Cymru yr un modd, gan dalu parch i'w gwroniaid ieuainc hithau, er mwyn i'w chalon ei hun fod yn gyfoethocach.

Dyma lyfryn bychan yn cael ei gyhoeddi er mwyn cysegru coffadwriaeth un o honynt. Bachgen ieuanc talentog, gloew ei gymeriad, hoffus gan bawb, oedd Gwilym Williams. Yr oedd wedi dechreu canu cân ei galon i Gymru; distawodd y gan honno yn rhyferthwy'r Rhyfel; didwrf yw ei gwsg yn naear Ffrainc, yn lle cael bedd gartref yng ngwlad Myrddin. Gwelais frawddeg yn un o'i lythyrau—mai " ardderchog wedi'r cwbl yw i un gael marw'n *ieuanc dros ei wlad* "—na chaf lonydd ganddi. O ba le y daeth gweledigaeth

mor glir, mor gyfoethog, i un fagwyd yn un o'r ardaloedd tawelaf yng Nghymru? Cynysgaeth awr gyfyng yw grym i weled ymhell a theimlo agosrwydd y pethau mwyaf. Y mae dyn ieuanc sy'n llefaru fel hyn yn fwy na choncwerwr, a'i farwolaeth gynnar yn sacrament.

Distawodd ei gân yma; ac eto dichon y bydd iddi ddeffro tant mewn llawer calon, wedi i'r adfyd hwn fyned heibio. Ac ym myd "y goleuni" y mae wedi ail-ddechreu'r gân na dderfydd byth, ar lan afonydd hedd, heb glwyf na thwrf rhyfel mwy.

ELFED.



# Rhagdraeth.

## YR IS-GADBEN GWILYM WILLIAMS.

WRTH gyflwyno y gyfrol fechan hon i'r cyhoedd, priodol efallai, fel rhagdraeth iddi, fydd cronicliad bras o fywyd yr Awdwr. Ganwyd ef yn Nantyrafr, yn mhlwyf Trelech-a'r-Bettws, yng ngwanwyn 1890. Wedi bod am dymor o dan addysg ym Mhenybont a Chaerfyrddin, aeth i'r Brifysgol i Aberystwyth, a chymerodd ei radd o B.A. gydag anrhydedd mewn Cymraeg, yn y flwyddyn 1913. Yna bu yn gwasanaethu am dymor fel athraw yn Ysgol Ganolraddol y Drefnewydd, ac yn Awst, 1914, aeth i Ffrainc i berffeithio ei hun yn iaith y wlad. Yr oedd yno pan dorrodd y rhyfel allan, a gorfu iddo ddychwelyd yn ebrwydd. Wedi hyn bu yn athraw yn Queen Mary's Grammar School, Walsall, hyd nes yr ymunodd a'r fyddin yng Ngorffennaf, 1915, ac y gwnaed ef yn Is-Gadben (*Lieutenant*). Yn Ebrill, 1916, aeth allan i Ffrainc, a chlwyfwyd ef ar fore Sadwrn, Mai yr 20fed. Bu farw y bore dilynol, a chladdwyd ef fore Llun yng Nghladdfa Merville, yn ymyl unig fab Mr. John Hinds, A.S. Cludwyd ei gorff i'r bedd gan nifer o'r milwyr, a gwasanaethwyd yn ei angladd gan y Parch. Peris Williams, Gwrecsam. Ar nos Sabbath, Mehefin yr 11eg, cynhaliwyd gwasanaeth

coffa iddo ym Mhenybont, Trelech, lle y bu yn aelod dichlynaidd er yn fachgen.

Yr oedd ein gwrthrych yn un o'r cymeriadau mwyaf gwylaidd a hardd, ac anwylid ef gan bawb a'i hadwaenai. Y mae Trelech, ei blwyf genedigol, wedi rhoddi i'n gwlad lawer cymeriad cyfoethog a chryf, a hir yr erys eu coffa yn y tir ; ond ni chaed o'i fewn erioed gymeriad anwylach, a bywyd llawnach o addewid na'n cyfaill ieuanc Gwilym Williams, a thrist yw meddwl fod y bedd wedi cau arno mor gynnar. Meddai ysbryd tyner a gwylaidd, a chroes drom iddo fu newid ei efrydiau am fywyd y milwr. Carai yr encilion, a chan nad pa orchest a gyflawnai, ni cheid ef un amser yn chwythu'r udgorn a chanu ei glodydd ei hun. Nid oedd i lwyddiant unrhyw berygl iddo, a chafodd ran helaeth ohono. Er byrred ei yrfa, dringodd yn uchel fel ysgolor, a llenor, a bardd ; ond er pob llwydd nid ymbellhaodd oddiwrth hen gymdeithion dyddiau mebyd. Ni fu neb a'i serch yn gryfach at ei hen ardal, ac ar hyd ei llwybrau yr hoffai dreulio ei wyliau haf ; dotiai ar degwch rhos Carlesi, ac nid oedd iddo ddyffryn llawnach o swyn nag eiddo y Dewi. Mynnai yr hoffder yma ddangos ei hun weithiau yn ei farddoniaeth, ond deuai i'r golwg yn fwy amlwg yn ei lythyrau. A gwledd o'r fath felusaf oedd cael llythyr odditan ei law. Yr oedd yn llawn arabedd tirion, ac yn feistr ar arddull gain yn iaith ei hen wlad.

Dechreuodd farddoni yn fore, ac ymdaflodd i'r gwaith o ddifrif, fel un yn teimlo nad oedd iddo gyfnod hir i ymgyfathrachu a'r awen. Nodweddir ei waith gan newydd-deb a cheinder, a theimlir rhyw ireidd-dra hyfryd ymhob llinell ymron ; ond er fod yr oll yn ffrwyth y gwanwyn cynnar, canai gan amlaf yn y lleddf.

Yr oedd megis yn hoff o rodio llwybrau y fynwent, a theg yw cofio iddo gael ei arwain i'r llwybrau hyny yn gynnar iawn. Amddifadwyd ef o un o'r tadau tyneraf pan nad oedd ond llanc, a chyn myned ohono i'r Athrofa gwelodd guddio wyneb tirion ei fam yn y ddaear oer, ac ni anghofiodd fyth y loes barodd ei cholli i'w galon fwyn. Cawn fynegiad llawn o'i deimlad hiraethus yn ei gân dyner, "O dan y Cwmwl" (Pryddest "Cario'r Groes.")

"Ni chwery deilen ar y coed,
  Ac ni red Dewi'n drwm,
Ond ni bu'r fath ystorm erioed
  Yn cerdded drwy y cwm.

"Fe edy'r praidd y borfa fras
  Am awel pen y bryn,
Ond O! erioed ni theimlwyd ias
  Cyn oered yn y glyn.

"Yngwydd y bwth ffy'r gobaith gau,
  A'r nef a nertho'm cam,
Caf dorri'm calon glaf yn glau
  Ar fynwes oer fy mam.

"Yn nüwch nos ar lwybrau loes
  Mor bell, mor bell yw Duw,
Mae'n anodd credu yn y groes
  A gobaith dan yr yw.

"Ond awel gobaith eto chwyth,
  A gwyr fy enaid gwan
Nas claddwyd, ac nis cleddir byth,
  Yr ysbryd yn y llan."

Efallai y teimlir nad oes yn ei farrddoniaeth gymaint o amrywiaeth ag a ddymunid, ond dylid cofio nad oedd ond ieuanc, ac iddo gyfansoddi yr oll mewn brys, a'r rhan fwyaf ar gyfer cystadleuaeth, a bu yn llwyddianus iawn yn ei ymdrechion. Enillodd ei gadair gyntaf yn Eisteddfod y Brifysgol, Gwyl Dewi, 1912. Testyn y gadair honno oedd, "Gwanwyn Bywyd," a theimlir wrth ddarllen y bryddest ei bod yn llawn haeddu y ganmoliaeth uchel roddwyd iddi gan y beirniad, Mr. Gwyn Jones. Cyn diwedd 1914, yr oedd wedi ennill tair cadair arall, ynghydag amryw o wobrau llai.

"O'r braidd y bu yn y coleg yma erioed fachgen mwy tyner, llednais, a llawn o deimlad nag ef, ac o dan yr oll gorweddai cryfder cymeriad diamheuol. Gwnaeth gymaint ag odid neb yn ei ddydd dros Gymraeg a hawliau Cymru yn ei choleg cenedlaethol. Efe ydoedd ysgrifennydd y Gymdeithas Geltaidd yn ei flwyddyn olaf yn y Coleg, a dengys Cymraeg glan a dillyn Cofnodion y Gymdeithas am y flwyddyn honno, ynghyda'r englynion a'r cwpledau aml a fritha'r tudalenau ol llaw meistr iaith a chelfyddyd arnynt. Blin ydyw meddwl fod y llaw honno heddyw yn oer yn yr angau, a'r galon dyner a gwladgar, hithau, wedi darfod curo am byth. Ond nid felly ei ysbryd. Mae hwn yn fyw, ac yn llefaru eto wrth bob un a adwaenai Gwilym. Er iddo farw'n ieuanc, ni fu efe byw am ddim, petai ond am ddylanwad Cristionogol ei bersonoliaeth garedig ar ei wir gymdeithion yn y Coleg." Felly yr ysgrifenna un o'i gyd-fyfyrwyr am dano mewn rhifyn diweddar o'r "*Wawr*," a gwyr y rhai a adwaenai Gwilym nad yw wedi lliwio'n rhy drwm.

Ymunodd a'r fyddin o dan ymdeimlad dwys o ddyledswydd, a syrthiodd ar faes y drin yn ferthyr

dros ei wlad. Yr oedd yn un o saith o blant, a gadawodd ddau frawd a phedair chwaer, ynghyd ag ardal gyfan, mewn hiraeth dwfn ar ei ol. Angel caredig wylio ei lwch yn naear yr estron.

Yn niwedd y llyfr ceir rhai o englynion ei frawd John.

JOHN LEWIS.

Maesycoed,
Blaenycoed,
*Hydref*, 1916.



# Er Cof.

Draw yng ngweryd pell yr allfro,
  Dan y "groes" a wylia'th "ro,"
Ger yr allor godaist yno,
  Huna, eilun bro ;
Gorffwys melys mwy fo iti
  Gwedi twrf y gâd a'i chwyn,
'Mhell o dawel furmur Dewi,
  Cwsg, fy nghyfaill mwyn.

Collwyd nodau'r delyn seinber ;
  Ar ei hanner mud yw'r gan
A grynasai mor ddwys-dyner
  Hyd y tannau mân.
Trysor ini yw a ganwyd,
  Ar y diliau gwledda gawn,
Ond am hud y "gerdd a gollwyd,"
  Wylo'n brudd a wnawn.

Ennyd ber bu dyn y tannau
  Dan y cyffwrdd cynnil cain ;
Hyfryd in' fu gwrando'r nodau
  Oedd mor ber eu sain.

Os yw'r bysedd â'u cyweiriodd
  Yn y glyn yn oer a gwyw,
Mae melodi'r miwsig ganodd
  Eto yn ein clyw.

" Suo'n dlws " o hyd mae " Dewi "
  Yn nhrigfannau'r " adar mân,"
Ond ar " lusael " dlos " Carlesi "
  Lleddf yw nodau'i chân.
Dewi fach ! a'th gwynfan isel
  Una'r fro sydd dan ei chlwy',
Prudd yw disgwyl sang na ddychwel,
  Hyd dy dorlau mwy.

Gwelsom yn ei ddwyrain euraid
  Lewych gwawr addewid ber,
Gobeithiasom nawnddydd tanbaid
  O'i athrylith der.
Trist yw coelio'r machlud cynnar
  Ddaeth mor sorth ar obaith bro,
Fod addewid oedd mor hawddgar
  Heddyw yn y gro.

Carodd Gymru fach yn gynnar,
  Hud ei bro a'i hanes hen ;
Ymhyfrydodd yn nigymar
  Swyn ei hiaith a'i llen.
Ddydd ei hawddfyd canodd iddi
  Dlws acenion lawer awr ;
Rhoes ei einioes ifanc erddi
  Yn ei chyni mawr.

Mwy boed Mai'n garedig iti
  (Mai fu'n torri'r bedd un waith),
Gyda'i fflur a'i falm eleni
  Doed i godi'r graith.
Estron dud a geidw'th ludw,
  Ysodd dros dy fro a'th wlad,
Serch dy famfro geidw'th enw
  Annwyl mewn coffhâd.

Weithion, huna yn yr allfro,
  Minnau rodiaf yma'n brudd ;
Hen fro'th serch ! amddifad heno
  Yw, a thi dan gudd.
Melys dangnef per fo iti,
  Gwedi twrf y gad a'i chwyn ;
Er ymhell o furmur Dewi,
  Cwsg, fy nghyfaill mwyn.

*S. O. Thomas.*

*Treparce, Trelech.*

# Englynion Coffa.

Am Gwilym trwm y galar—drwy y wlad,
Oer loes Nantyrafar,
A llaith yw'r gobaith a gâr
Fro cân o'i farw cynnar.

O deg bydew gwybodaeth—yfodd ef
Ddwr grisial dysgeidiaeth ;
Drwy'i awen hoff ei droi wnaeth
Yn beraidd win barddoniaeth.

Carai laswellt Carlesi—arw, a grug
Y rhos yn ei dlysni,
A'r barddonol swynol si
O dawel ffrydiau Dewi.

Udgorn y gâd grynai gwm—a mynydd
Mewn erchyllaf larwm,
Drwy adsain drud swn y drwm
Dyryswyd gwlad o'i rheswm.

Mewn grym aeth Gwilym i'r gâd—i daro
Dros diroedd ei fam-wlad,
Wirfoddolwr, fu ddeiliad
Bro hedd, aeth i ddrycin brad.

Os yn nhrinoedd ffriddoedd Ffrainc—y cwympodd
Ymysg campwyr ieuainc,
Ei fro gu fawrhâ ei gainc
Ddifloesg a'i gerdd felysgainc.

*Brynach,*



# GWANWYN BYWYD.

Pryddest y Gadair yn Eisteddfod Coleg y Brifysgol, Aberystwyth, Mawrth 2il, 1912.

## *A.*—EI FABINOGI.

### I.

Deced ydyw'r blodau bach
  A eneinia bob awelig,
Fwyned ydyw'r miwsig iach
  A ddihidla cor y goedwig.

Tegach fil na blodau'r byd
  Ydyw llewych wyneb plentyn,
A phereiddiach miri'r crud
  Na thelori'r un aderyn.

Oes a ddwed mewn dirmyg ffôl
  Fod y byd yn llawn aflendid ?
Deued, tafled drem yn ol
  At ei fywyd glan cynhenid.

Beth mor dlws a baban mud,
  A'i rieni yn ei siglo ?
Mae cyforiog ledrith hud
  A phrydferthwch dwyfol ynddo.

Bob yn ail ei fam a'i dad
  A oblyga i'w gusanu,
A chydganant mewn mwynhad
  Pan yn suo'r tlws i gysgu.

Ebrill heb friallen hardd,
  A Mehefin llwyd heb rosyn,
Ydyw'r bwth na edwyn chwardd
  Ac arabedd ffraeth y plentyn.

Pwy felysa drafferth dyn,
  Lonna'i ofid, chwerwa'i wynfyd ?
Gwelaf wrid ar wyneb un
  Uwch pryderon byd a'i benyd.

Gwened mwynlan huan haf
  Ar adfywiol flodau'r gwanwyn,
I rieni baban claf
  Nid yw haf ond gaeaf gerwyn.

Cured Rhagfyr wrth y drws,
  Rhued mor a'i wenyg gwynion,
Bywyd iach y baban tlws
  Ddwg lawenydd haf i'r galon.

Beth i serch yw cyfoeth byd
  Pan fo bywyd yn y fantol ?
Llon-abertha'r ddau ynghyd
  Dros y musgrell febyn hudol.

## II.

Baban yn cerdded ei gyntaf gam,
Crynna calonau ei dad a'i fam.

O gol ei fam anturia'r tlws
Yn ofnus hyf tua throthwy'r drws.

Ei dad a'i derbyn, a chnithia'i gefn,
Try ef yn ol at ei fam drachefn.

O'i goncwest gyntaf mor falch yw'r ddau,
Poen iddo mwy fydd cael drws ynghau.

Mor llawn o nwyf yw ei ysgafn fron,
Tebyg i oenig y gwanwyn llon.

Dawn y chwareuwr ddatblyga'n awr,
A'i lu o deganau a fritha'r llawr.

Heddyw ei bleser yw chwareu'n rhydd,
Ond gwae'r teganau yfory fydd.

Mor ddidwyll-ddedwydd y mae o hyd
Dan ofal engyl y bwthyn clyd.

Chwery a'i riaint a'i ddwy law fach,
Tegan yw popeth i blentyn iach.

Dolefa'r gwenyg yn wyn eu gwawr,
Ond mud a llonydd yw'r dyfnder mawr.

Wyla y plentyn yn lleddf ei lef,
Ond iach yw dyfnder ei galon ef.

Y dyn gofidus anghofia'i gwyn
Wrth wylio chwareu y plentyn mwyn.

Awelon gofwy o wanwyn oes
A lwyr alltudia bob cur a chroes.

Brenin yw'r plentyn yn nheyrnas serch,
Brenin na edwyn un gelyn erch.

Allor cusanau yw'r minion mel,
A than ei ddeurydd mae rhos ynghel.

Mae'i galon dyner mor santaidd wyn
A'r alaw wylaidd ymin y llyn.

Ei iaith felysed a chwa y nos
A yf o neithdar dihalog ros.

Cyn laned ydyw ei feddwl ef
A'r ôd pan ddelo i lawr o'r nef.

Y dydd nesa'r aiff o'i gartref clyd
I ymgymysgu a phlant y byd.

Fyd, na fydd euog o wneuthur cam
Ag eilun calon ei dad a'i fam.

## *B.*—EI LWYBRAU.

### I.

Prysura'r llanc i'r ysgol brydferth sydd
   Fel llys yng nghanol teios pentref gwledig,
Arweinia'i lwybrau troiog dan y gwydd
   Drwy ddyffryn hud yn llafar su afonig ;
Dros ro a main mewn diwyg dlos a glan
   Yr â ymlaen, a gwersi'r nos a edrydd,
A mynych cluda'r awel allwyn-gan
   Hoff Lucy Gray neu folawd Nant y Mynydd.

Ar wŷs y gloch ar ddiwedd taith mor iach,
   Eistedda'n awr a'i lygaid ar ei athro ;
Fel yr ymestyn y blodeuyn bach
   At heulwen yr ymestyn ef i wrando ;
Yn haddef hardd gynefin Duwies dysg
   Ni fydd yn hir cyn gwel'd ei hallor hawddgar,
Ac ar ei heirias dân a fythol lysg
   Offryma'i feddwl ir a'i gof gafaelgar.

Yn iach i'r gwersi mwyach, law yn llaw,
   Daw torf a thorf i lonni'r pentref diddig,
A ffraethed yw eu miri oddidraw
   Yn toddi 'nghan fin-felys yr afonig ;
Aflonydd a pharablus fel y don
   Dewisa'r hoyw lu eu hoff chwareuon,
Ac wedi gwrando ar eu lleisiau llon
   Fel llanw mor o fiwsig yw'r awelon.

Dros bant a thwyn gan herio'r clawdd a'r drain
Cyfeiria'r llwynog deutroed tua'r gelltydd ;
Ust ! clywch yr udgorn a'i herfeiddiol sain ,
A'r osgordd fawr yn brysio ar ei drywydd ;
Fe drueliant orig lawn mwyniannau iach
Yng nghanol swynion golygfeydd rhamantus,
Ymhell o fagwyr mwll y pentref bach,
A gwybydd pawb, ymhell o'i ffynnon felys.

Pwy wyr fel hwy am felys flasus ffrwyth
Y coed, ac araul fan y syfi gwridog ?
Pwy edwyn hyd ceulannau'r brithyll mwyth
A'r fedwen fain am wlybion ddillad drylliog ?
Pwy gar y fraint o chwythu'r tanllwyth coch
A gwrando'r gof yn nyddu'r chwedlau hudol ?
Yng nghanol eu mwynhad fe gan y gloch,
Gan leddfu'r fron a'u gwysio tua'r ysgol.

Mor ddiflin ydyw cariad tad a mam
Yn hulio bwrdd eu bachgen uchelgeisiol,
A chwyd o ris i ris, o gam i gam,
Nes dod i'r dosbarth uchaf yn yr ysgol ;
Ysgoldy mwyn, rhaid canu'n iach i ti,
Mewn newyn blin am ragor o'th ddanteithion,
A chipdrem arnat mwy yn swn y lli
A ddeffry glych hiraethus hen atgofion.

## II.

O gylch y tan mae'r teulu mwyn yn awr,
Ond heno nid oes gan ar fant na thelyn ;
Bradycha'r dwyster a'r tawelwch mawr
Ei bod yn noson bwysig yn y bwthyn ;

Ar forfin y dyfodol syll y tri
  Drwy'r caddug caeth yng ngoleu seren gobaith,
O borthladd cariad dros yr anial li
  Mae'r rhwyf-long fach ar gychwyn ar ei mordaith.

Ar li'r presennol weithiau chwareu'n llon
  Mae dail dewinol y dyfodol dirgel,
Ac wrthynt gwybydd arwr dewr y don
  Fod erwau ffrwythlawn draw'n eneinio'r awel;
Pan dremia dau dros gefnfor llydan, noeth
  I'r gorwel pell o gylch y rhwyf-long unig,
Canfyddant frud-ddail gwlad y llenor coeth,
  Neu lawryf gwyrdd Parnassus cysegredig.

Can's gwyr rhieni'r llanc ei fod bob nos
  Mewn myfyr dwys yn llyfrgell bur ei gartref,
Yn hwylus ganu mawl Ceridwen dlos
  Ar gyfer rhyw eisteddfod yn y pentref;
Diwyllia llwydd a siom ei feddwl ef
  Fel haul a storm y dderwen wrth ddyrchafu,
A chariad, er na fedd ond dwylaw gref,
  A heria bob anhawster i'w addysgu.

Pan dyr y wawr a'r 'hedydd yn y glas
  At ffynnon dysg â'r tlawd a'u llanc sychedig,
A rhydd yr athro doeth o uchel dras
  Anrhydedd bonedd i'w ymwelwyr gwledig;
Os gwael yw gwisg y llanc, efe a wel
  Fod golud yn ei wrid a'i lygaid gloywon,
A thwng y gwna ei oreu doed a ddel,
  I'w helpu i ddehongli eu breuddwydion.

## III.

Ym Medi hael a'r dail yn edwi'n dlws
  Y gedy'r llanc ei ardal a'i gyfannedd,
A phan gyfarchant well ar drothwy'r dwrs,
  Gwenoliaid lu a drwsia eu hadanedd
Ar ben y bwth, gan son am groesi'r lli
  I hinon haf mewn hyfryd hwyl ac afiaith;
Fe geisiant ddweyd wrth drist ond byddar dri,
  Yn awr am i'w hanwybod fod yn obaith.

Mae ef lle bu mewn breuddwyd lawer tro
  Yn ddrych o natur gain ymysg y beilchion,
Nid unig oedd unicaf lwybrau'i fro,
  Ond O! uniced yr heolydd llawnion;
Dan dwymyn hiraeth delwa rhos ei rudd,
  A'i galon drom a deimla fin ei hartaith;
Ac yn ei feddwl dryslyd rhyfel sydd
  Rhwng serch at gartref ac uchelgais gobaith.

Paradwys hud yw'r cartref yn y wlad
  I un mewn lle na edwyn gar na chyfaill,
Diderfyn ydyw serch at fam a thad
  Ar ol dioddef trais a dichell eraill;
Od oes prydferthwch perffaith yma'n bod,
  Mae'n narlun atgof o rieni euraid,
Mae cawod wlithog atgof fel yr ôd
  Yn gwneud cynefin fro i gyd yn gannaid.

O'r dref i'r wlad, o'r wlad i'r dref, ar daith
  Bob wythnos mwy fe ddenfyn serch lateion,
Ac os bydd newydd chwerw ambell waith,
  Fe'i gwisgir ef mewn iaith na frifa'r galon;

Yn llety'r llanc mae'r lamp yn hwyr ynghyn,
  Ac yntau 'nghwmni meddwl mawr talentog,
A chofia mewn mawrhad ei gartref gwyn,
  A'i "wrol lin o'u cynni'n gwasgu ceiniog."

Wrth wylio'i hynt yn ennill bri a chlod
  Breuddwydia serch am hindda yn y ddrycin,
Daeth gloywach nen, cyrhaeddodd ef ei nod,
  A throir y bwth yn blas gwroniaid gwerin ;
Uchelgais mwyn, wrth ddilyn d' oleu di
  Cysegregwyd tad a mam ac ardal wledig ;
Ond Gwener ddaw a than ei llewych hi
  Ymddengys dyn a byd yn gysegredig.

## *C.*—EI LANERCH HUD.

*"Y fun a wnaeth wayw yn f'ais,*
*A garaf ac a gerais."*

Mor freuddwydiol ac mor brudd
  Ydyw pryd y macwy weithion,
Mae arteithiau gofid cudd
  Yn llesteirio llam ei galon ;
Beunydd beunos meddwl mae
  Am y fanon fwyn a'i gwanodd,
Ond uchelgais er ei wae
  Oddi wrthi a'i gwahanodd.

“ Mae fy mun ?” gofyna’n daer
  I awelon lleddf y cyfnos,
Hola’r rhosyn am ei chwaer,
  A’r aderyn am yr eos ;
Er ymhell o drig y dlos
  A deyrnasa yn ei fynwes,
Eto nid oes ddydd na nos
  Na ddwg deyrnged i’w frenhines.

Mae’r cariadlanc deuddeng awr
  Wedi suddo dros y tonnau,
Ond fe ddaw o byrth y wawr
  I gusanu pen y bryniau ;
Hwyr a bore dan y coed
  Chwery deuoedd eu telynau,
Ond y fanon ysgafn droed
  Ni chywira’i hoed ag yntau.

Lloer arianwen gwyd yn hyf
  Gan rychwannu gwyll yr entrych,
Ac er gwaethaf croeswynt cryf
  Llanw’r mor ddilyna’i llewych ;
Llanw’i galon ddofn a fyn
  Yn ystorm amheuon enbyd
Ddilyn llewych oer a chryn
  Unig lugorn gwybren bywyd.

Atgof ddaw am lawer hynt
  Tua’r llanerch oed a’i swynion,
A chan win y dyddiau gynt
  Egyr clwyfau llosg ei galon ;

Ond hyderus yw o hyd
  Pe cai eto'i chwmni melys
Y gwellheir ei glwyfau'i gyd
  Gan ireiddiol falm ei gwefus.

Mae y dewin, mae y bardd
  Bortreada'r fanon finfel ?
Tlws yw gwrid ei hwyneb hardd,
  Lluniaidd ei gwefusau cwrel ;
Unlliw'r nos yw gwallt y war,
  Treiddgar ei serenog lesni,
Ond ni chenfydd ond a'i car
  Mo anwyldeb dwfn ei thlysni.

Ni fydd lonydd Gwener wen
  Onis dwg i wydd ei feinwen,
Ac i ddwy gymylog nen
  Wedi cawod daw yr heulwen ;
Fraich ymraich hyd lwybrau'r allt
  Gwyra'r ddau yng ngwynfa cariad,
Cusan, gwen, a deigryn hallt
  Ydyw iaith hyotla'u teimlad.

Dawnsia'r Tylwyth Teg yn hardd,
  Hud a lledrith döa'r ddaear,
Nid oes dim na chan na chwardd
  Pan yng nghwmni dewis gymar ;
Bydded aeaf blwng o hyd,
  Cured stormydd poen ac adfyd,
Gwynfydedig ydyw'r byd
  Medd calonau dau anwylyd.

Gyda gwellt neu blu'n ei phig
  Mae Mehefin wedi dyfod,
Medd mwyalchen yn y wig,
  Medd y wennol dan y bargod ;
Moliant haf a gan pob un
  Pan fo lawn y pebyll bychain,
Moli'r haf mae mab a mun
  Ar eu haelwyd fach eu hunain.



## CARIO'R GROES.

(Pryddest Gadeiriol Beulah, Ceredigion, Pasc, 1914.

"*Everywhere you will find the Cross.*"

Ymhell ymore niwlog amser
  A geuon dduwiau lu,
Yn nelw'r groes mae serch a hyder
  Y pagan gwyn a du ;
Ac fel y treiddiodd haul i'r entrych,
  A niwl y nos a ffoes,
O galon dyn nid aeth ei lewych
  A serch a swyn y groes.

Ymharthau anial nos anwybod,
  Dan greulon gilwg ffawd,
Mae delw'r groes o hyd i'w chanfod
  Ar wisg fy anwar frawd.
Cyn lledu'r son am groes ein pechod
  A'r fuddugoliaeth ddrud,
Fe welir goleu'r groes a'i chysgod
  Ar fywyd crwn y byd.

Hyhi fu rhaid y bythod bychain
  A'u nawdd am lawer oes,
Ac O ! felysed oedd eu plygain
  A'u gosper wrth y groes.
Yn hapus flin ar awr ymborthi,
  A'r teulu wedi cwrdd,
Gofynid bendith yn ei chwmni
  Wrth nesu at y bwrdd.

Dros lwrw'r lli estroniaid cywrain
  A ddaeth i geisio'n gwlad,
Gan gludo'r groes* a'i breichiau llydain
  Mal draig ymlaen y gad,
A phan orthrymai llwyth Mahomed
  Fe welid gwyr fy ngwlad
Dan luman coch y groes yn myned
  Yn arfog i'r Grwsâd.

Dan haen o lwch ar fin heolydd
  Mae ambell faen o hyd
A ddengys ddelw'r groes i'r teithydd
  Ym mrys trahaus y byd.
Mae'r groes i'w gwel'd ar lwybrau cochion
  Dynoliaeth ymhob oes ;
I b'le yr af nas gwelwyf weithion,
  Na chlywyf am y groes ?

Os af i'r ardd yng ngwres yr huan
  I gwmni'r blodau ir,
Wrth graffu ar flodeuyn bychan,
  Fe ddengys groes mor glir.
Os af o'i gŵydd i'r hwyrnos dawel,
  A'r sêr yn britho'r nen,
O flaen fy llygaid ar y gorwel
  Mae Croes y De mor wen.

* Danebrog.

"*Under many varying conditions it has served to represent life—life universal, life creative, life productive, life redemptive. Aptly, indeed, the Cross fulfils that definition which has described it as the 'most significant token of a universal brotherhood.'*"—M. Escombe.

Daeth enw y groes i fy ngeirfa
Mor glau yn fy more bach,
Pan oeddwn yn frenin yn nheyrnas serch,
A'm bywyd yn wynfyd iach.

Ni thorrai y gair ar fy nghlustiau
Na chofiwn am Iesu Grist
Yn cludo y groesbren i ben y bryn
Ar Wener y Groglith drist.

A'r Iesu, os wyf am ei ddilyn,
Ar ganol y ffordd a'm rhydd,
Trwy losgi fy hunan ar allor serch
A chodi fy ngroes bob dydd.

Darllenais am aberth yr Iesu,
A hanes ei ing a'i loes,
A theimlais ynghwmni ei fywyd pur
Uchelgais a nôd y groes.

Er trymed a garwed y groesbren
Ar ysgwydd fy Nghrist dinam,
Y groes oedd ynghudd yn ei galon fawr,
A'i ysbryd a letha'i gam.

Er dyfned y gwanodd y cleddyf,
  Ac amled yr hoelion dur,
Trueni a phechod dynoliaeth fall
  A barai greulonach cur.

Fel breichiau y groesbren o dano,
  A'i redli yn lliwio'r llawr,
Cofleidiai ei galon anfeidrol Ef
  Bedryfan y ddaear fawr.

Uchelgais fy nghroes ydyw'm gwneuthur
  Yn debyg i Iesu Grist,
I ddangos gogoniant fy Nhad i'r byd,
  A'i gariad i rywrai trist.

## LLWYBRAU'R GROES.

### 1.—*Dan y Cwmwl.*

Ni chwery deilen ar y coed,
  Ac ni red Dewi'n drwm,
Ond ni bu'r fath ystorm erioed
  Yn cerdded drwy y cwm.

Crych adain glan y llyfnlas lyn,
  Plyg murmur mwyn y rhos,
Ond ni thramwyodd drwy y glyn
  Erioed dywyllach nos.

Fe edy'r praidd y borfa fras
  Am awel pen y bryn,
Ond O ! erioed ni theimlwyd ias
  Cyn oered yn y glyn.

Yngŵydd y bwth ffy'r gobaith gau,
  A'r nef a nertho'm cam,
Caf dorri'm calon glaf yn glau
  Ar fynwes oer fy mam.

Yn nüwch nos ar lwybrau loes
  Mor bell, mor bell yw Duw,
Mae'n anodd credu yn y groes
  A gobaith dan yr yw.

Dan ddyrnod siom yr af o'r wlad
  Yn ol i'r ddinas ddu,
I droedio llithrig belmynt brad
  Yn unig yn y llu.

Ond awel gobaith eto chwyth,
  A gŵyr fy enaid gwan
Nas claddwyd, ac nis cleddir byth
  Yr ysbryd yn y llan.

I'r llan o'r llannerch, er ein clwy',
  Yr arwain ffyrdd y byd ;
O'r llan i'r llannerch arwain hwy
  Medd ysbryd mam o hyd.

Yn nüwch nos ar lwybrau loes
  Mor agos ydyw Duw,
A'm gobaith ydyw dwyn fy nghroes
  Medd llais o dan yr yw.

## 2.—*Yn y Drin.*

Pan fo'r groes yn clwyfo'r fron,
  Pan fo dyn unicaf,
Pan ddiffoddo llewych llon
  Ei obeithion olaf,
Gwel y gelyn gyfle hud
  I ymosod arno,
Ac fe frysia yn y nos
  Yn llechwraidd ato.

Gyda chydymdeimlad mall
  Ar ei wyneb troiog,
Gydag acen galar ffug
  Yn ei eiriau halog,
Eddyf iddo'n lle ei wae
  Olud a chysuron,
Ond ymostwng iddo ef
  A'i addoli'n gyson.

Mud ond cadarn fel y graig
  Dan y gwenyg brigwyn,
Erys yntau wrth y groes
  O dan saethau'r gelyn.
Canfu'r gelyn er ei siom
  Nerth a grym ei fywyd,
Ac fe dynnodd feinlem saeth
  Ar ei fwa tanllyd.

Gyda dirmyg yn ei drem
  Ceisiai ei orchfygu
Trwy anelu at ei ffydd
  Yn ei Dduw a'i Iesu.

"Nid yw Duw ond breuddwyd dyn,"
  Meddai wrtho'n greulon,
"Ofer yw dy gred a'th ffydd,
  Ofer yw dy gwynion."

Canfu yntau'r teimtiwr cas
  Gynneu'n gyfaill iddo,
A than edrych arno'n syn
  Meddai'n dirion wrtho :
"Cysegredig gan fy Nuw
  Ydyw fy nioddef,
A than lynnu wrth y groes
  Minnau lwybraf adref."

### 3.—*Gofwyo'r Truan.*

Ym mhlasdy dan adain y mynydd,
  O derfysg a miri y byd,
Mae gweddw a thair o rianedd,
  Ac un yn y gweryd yn fud,
A Chatrin yr hynaf oedd orlawn
  O gariad ac ysbryd ei thad,
A hithau oedd gwarchae y teulu,
  A gwarchae trueiniaid y wlad.

Fe wyliai ei mam yn ei henaint,
  Gofalai am Agnes [illegible] Rose,
A threuliai yn nheios y truain
  Ddiwrnodau o fore tan nos ;
Wrth lawer i erchwyn marw ysgafn
  Rhoes obaith a chysur i dlawd,
Er brynted ei fwthyn a'i fywyd,
  Ymgomiai ag ef megis brawd.

Ei chroes oedd ei choron a'i gwynfyd,
  A cherddai drwy'r oerwynt a'r glaw
I chwilio afradlon i'w dywys,
  Ac egwan i gydio'n ei law.
Angeuol ofergoel anwybod
  A frysiai fywydau i'r gro,
A geisiai alltudio o feddwl
  Preswylwyr y mynydd a'r fro.

Ond teimlai o flwyddyn i flwyddyn
  Ofalon y teulu yn fwy,
A chanfu na allai ei hunan
  Reoli ei fywyd yn hwy.
A phan ddaeth a'i carai i'w cheisio
  Petrusai a'i llygaid yn llyn ;
Pa galon na thoddai wrth wrando
  Ar serch yn ei hannerch fel hyn.

"Crymu, crymu'r wyt, fy ngwyryf,
  Dan dy groes dy hun.
Haws o lawer fyddai gennyf
  Gludo dwy nag un."

* * * * * *

Gadawodd ei chartref dan heulwen,
  Ond byth nid ymedy a'r groes ;
Ynghwmni'i hanwylyd gofwya
  Drueiniaid tylodi a loes.
A gofid eu calon yw rhythni
  Bythynod y dreflan islaw ;
Pa fodd y bydd iachus y tlotyn
  Heb gysgod rhag oerwynt a glaw ?

Yn nyfnder y gaeaf didostur,
  A'r teios mor oer a'r ystryd,
Daeth twymyn anorfod i'r dreflan
  Gan daro y truain yn fud.
O'r dreflan i'r fynwent, o'r fynwent
  I'r dreflan, mor drist ydyw rhawd,
A Chatrin alltudiodd y baban
  I weini yn nheios y tlawd.

A hi a'i hanwylyd oedd beunydd
  A beunos yn gwneuthur eu rhan
Trwy godi gobeithion amddifaid,
  A gwylio yr ysig a'r gwan.
Trwy'u haberth a'u gwybod diflannodd
  Y dwymyn o'r dreflan i gyd.
Pwy edrydd lawenydd gwaredwyr
  Trueiniaid tylodi y byd ?

4.—*Mae fy Mrawd* ?

Cerdd y ddrycin dros y mynydd
  Heibio'r tyddyn llwm ;
Brysia'r geinach o'i hafoty
  Gyda'r ffrwd i'r cwm.
Darllen mae y glaslanc eto,
  Ac ni chlyw y gwynt,
Lyfryn bach y drafferth felys—
  Casglu'r " goron "* gynt.

* *At y Llongau Cenhadol.*

Wrth fynd dros y gyfrol fechan
  Gyda'r hanes prudd,
Tawdd ei galon fach yn llymaid,
  Llifa dros ei rudd.
Cwsg ni ddaw a'i neithdar angof
  I'r bachgennyn tlawd,
Clyw ryw lais yn gofyn, gofyn
  Iddo, " Mae dy frawd ?"

Ar y mynydd, yn yr hundy,
  Chwyth y ddrycin hell ;
Gwŷsia'r geinach o'i chynefin,
  Gwŷsia'r llanc ymhell.
Ysbryd yr ystorm a ddywed
  Wrtho yn ei loes,
" Os myn neb fy nilyn, bydded
  Iddo godi'r groes."

Gwrendy'n fud ar y rhyferthwy
  Yn yr hirnos oer,
Ac adanedd du y ddrycin
  Guddia wên y lloer.
Ond ei ddilyn mae'r gofyniad
  Creulon, " Mae dy frawd ?"
Yn y caddug cenfydd wyneb
  Trist y pagan tlawd.

Anodd gadael cysegredig
  Lwybrau Cymru dlos,
A thramwyo anghynefin
  Eirwon lwybrau'r nos ;

Anodd gadael hen gyfeillion
  Am y ddieithr wlad ;
Anos, anos meddwl gadael
  Briglwyd fam a thad.

Am ymwared rhag yr aberth
  Y gweddïodd ef,
Ond ni chlybu unrhyw ateb
  Namyn eco'i lef,
" Dy ewyllys Di a wneler,"
  Meddai wrth ei Ri',
" Ac os mynni at y pagan
  Tywys Di fyfi."

Hwnt o'r mynydd, hwnt o'r hundy,
  Yr ystorm a ffoes,
A daeth cwsg i gloi ei emrynt
  Wedi codi'r groes ;
Uwch yr aeth yr 'hedydd trannoeth
  Fry i las y nef,
Ac ni chlywid eco'r ddrycin
  Yn ei seiniau ef.

Er i'r byd ei alw'n ynfyd,
  Aeth y llanc cyn hir
I sefydlu teyrnas Iesu
  Yn yr anial dir.
Ond aflwyddiant ei galedwaith
  Ddug i'w galon loes ;
Pan fo Duw yn cuddio'i wyneb
  Anodd cludo'r groes.

Ond ni wnaeth anobaith namyn
Dyblu'r ymdrech ddrud,
Oni thaniodd hanes Iesu
Lawer eilun mud.
Ni ddyfelir byth bryderon
Y cenhadwr hy' ;
Ni ddyfelir mo'i lawenydd
Yn y nefoedd fry.

## DIWEDDGAN.

" *Midnight is past, the Cross begins to bend.*"

Mae Croes y Deheu heno'n wen
Yn y ffurfafen dlos,
A throi a throi mae'n daear ni
O dani yn y nos.
Pan fyddo'n syth, fe ddwed yn ffraeth
Nad aeth y nos ymhell,
Ond araf wyra maes o law
Cyn daw y goleu gwell.

Fe dry y byd, [illegible] gwyra hi
Hyd oni ddarffo'r nos,
A chyda'r gwyll fe ffy o'r nen
O flaen y wawrwen dlos.
A'r 'hedydd rydd ei seiniau mêl
Ar fron yr awel iach,
A deffry tlysni ymhob man
O dan y perlau bach.

Ar anial lwybrau'r ddunos hell,
  Dan bicell gwawd a loes,
Ymdeithia'r da a'i emyn bêr
  Dan leufer gwan y groes.
Fe fu yn syth am oriau maith,
  A phen y daith ymhell,
Ond O ! mae'n dechreu gwyro'n awr
  Dan wawr y bore gwell.

Yn niwl y nos ymgudd y groes,
  Nid oes mo'i heisieu'n hwy ;
Cyrhaeddodd yntau wlad y dydd,
  Lle na bydd nosi mwy.
A'r angel ddaeth o'r nefol lys
  I'w dywys dros y ffin
A blannodd rosyn ar ei rudd,
  Llawenydd ar ei fin.



## SWYNION ANIAN.

(Pryddest Gadeiriol Cwmduad, 1913).

### ARWEINGERDD.

Ar fynwes f'anwylyd gorffwysaf
O derfysg a miri y dref,
Mae gobaith yn wrid ar ei hwyneb,
A gobaith yn gân yn ei llef.
Mi wn am y bradwr a'i gusan,
Am bicell yn rhosyn y byd,
Ond weithion yn llys yr encilfan
Caf fynwes yn burdeb i gyd.

Daeth Duwies gwybodaeth i'm cyrchu
O gartref y defaid a'r ŵyn,
A bum yn ei llys yn ymborthu
Ar wledd o gyfaredd a swyn ;
Ynghwmni'r memrynau a'r llyfrau
Meddyliais am wledda'n ddi-flin.,
Ond O ! fe ddiflannodd eu swynion
Pan welais o'r diwedd eu ffin.

A'm gruddiau yn llwydion a gwelw,
Mewn hiraeth dychwelais yn ol,
Yn ol i athrofa f'anwylyd,
Athrofa y mynydd a'r ddôl.

Ar waethaf efrydwyr llygredig,
  Ar waethaf drycinoedd mor fawr,
Fe bery ei chyfrol cyn laned,
  Cyn ieued a llewych y wawr.

Y gorwel yw cloriau ei memrwn,
  Mae swyn mewn dirgelwch o hyd,
A bywyd cyfriniol f'anwylwyd
  Ddwg ledrith i'w irddail i gyd.
F'anwylwyd ! maddeua fy rhysedd
  Am deimlo ohonof yn un
A swynion anfarwol dirgelwch
  Gogoniant dy fywyd dy hun.

## YN Y DYFFRYN.

Cwsg y geinach yn y dyffryn,
  Drosti plyg y briglwyd bren,
Ond mor esmwyth dlws yw cyntun
    Anian wen.

Dan ei brodwaith mae y geulan
  Megis gem o arian byw,
Ac yn ffrwd y ffynnon burlan
    Gylch y dryw.

Gynt a chynt cofleidia'r heulwen
  Anian laith ac oer ei bron,
Ac fe ddeffry'n deg mal meinwen
    Hardd a llon.

Buan egyr ar y dolydd
  Flodau gobaith glwys eu gwawr,
Ac arafa merch y mynydd
    Yn eu sawr.

Gyda'r nant a thrwy y goedwig
  Awel fêl y bore gwyn
Ddaw fel llanw mor o fiwsig
    Drwy y glyn.

Hardded yngoleuni'r cyfnos
  Ydyw llewych llannerch dlos,
Lle daw nodau dwsmel ëos
    Yn y nos.

Dyfnlas ydyw'r nen a'r dyffryn,
  Glas yw gwisgoedd llaes y llwyn,
Ac ar araul fron y gwanwyn.
    Chwery'r wyn.

Gwrando, gwrando, deunod arain
  Llatai llwyd y tymor hud,
Mae y fronfraith yn y berllan
    Uwch y crud.

Ond mae hefin mwyth yn dyfod,
  Medd llawenydd rhosyn rhudd,
Medd y chwerthin dan y bargod
    Drwy y dydd.

Ag adanedd aur ag arian
  Daeth y glöyn byw yn ol
I gusanu'r perlau purlan
    Ar y ddol.

Barrug hefin ar y banadl,
  Eira hefin ar y drain,
O ! i'm henaid gwin yw anadl
    Byd mor gain.

Murmur mwyn a blyg y rhosyn,
  Adain glau a grych y llyn,
Ac fe edy'r praidd y dyffryn
    Am y bryn.

Prydferth, prydferth yw awelon
  Hydref ar y gwenith gwyn,
A'r medelwr ar ei swynion
    Syll yn syn.

Os yw'r ardd yn wag aflawen
  Heb ei blodau mel a mwyth,
Oni phlyg y ber afallen
    Dan ei llwyth.

Cusan heulwen Hydref weithion
  Eura wedd y deilios man.
Awel Hydref rydd i'r ffynnon
    Nerth a chan.

Bywyd swynol anian fangaw
  Chwardd ar drothwy'r gaeaf blin,
Ac a adref gydag alaw
    Ar ei fin.

## AR Y MYNYDD.

Gwyn yw'r mynydd yn yr entrych
    Yn y gaeaf oer,
Ac mor ddisglaer yw ei lewych
    Dan y ser a'r lloer.
Gwyllt yw'r rhaeadr draw yn disgyn
    Drwy gilfachau'r allt ;
Dyfnlais fel y mor ei delyn,
    Unlliw'r ôd ei wallt.

Dros y mynydd cerdd y ddrycin,
    Ond ni phlyg ei ben ;
Poera'r mellt, a thry i chwerthin
    Dan y fflamwyllt wen.
A phan beidio'r holl gynddaredd
    Bydd efe yr un,
Gyda nerth a swynion symledd
    Arno byth ynglyn.

Melys ydyw ei awelon
    Wedi'r feinlem ias,
Pur a chroyw ydyw'r ffynnon
    Ar ei obant glas.
Llon yw'r dawnsio ar y ffriddoedd
    Yn y rhamant hud,
Lle mae'r oen a'r wyn yn lluoedd
    Yn wyn, wyn eu byd.

Hardd yw fflur melynau'r eithin
    Ar y mynydd ban ;
Teg yw'r grug yn eu cynefin
    Gyda'u porffor gwan.

Llon yw 'hedydd bore claerwyn
Ar ei adain laith,
Fry yn tywallt mêl ei delyn
Uwch y mynydd maith.

## AR Y TRAETH.

Rhois ffarwel i gartre'r grug,
Rhois ffarwel i'r meillion,
Ar y traeth yn wyn fy myd
Syllaf ar yr eigion.
Rhydd yr wybren ddi-ystaen
Lesni ar y feisdon,
Ac yn llawn o neithdar mor
Chwery'r awel dirion.

Mwyn yw si yr ysgafn don
Wrth farw ar y dorlan ;
Mwyn wrth chwarae ar ei bron
Ydyw llais y wylan.
Dwyfol dlws ymin y nos,
Pan fo'r hin yn dawel,
Ydyw machlud huan haf
Draw ar donnau cwrel.

Swynol yw anwylwyd dewr
Lloerwen dlos yr entrych
Yn prysuro dros y traeth
O dan hud ei llewych ;
Ond fe ddychwel eto'n ol
Pan ymgudd ei feinwen,
Ac fe edy iaith ei fron
Draw ar fin y gragen.

Mae y bardd a odlo swyn
  Yr ehangder anwel ?
Mae y dewin eiria'r hud
  Hwnt i ffin y gorwel ?
Onid priflys Duwies swyn
  Yw y glasfor diflin,
Ac ymdaen ei mantell hud
  Dros ei fywyd cyfrin.



# Y DELYN FUD.

## DAN Y BONDO.

Mud aderyn yn y dyffryn,
  Rhwng di-ddail ganghennau'r pren,
A thawelwyd llawer telyn
    Gan yr amdo wen.

Uwch fy mhen am noson erwin
  Dyry'r frân a'r wylan frud,
Erys telyn aur Mehefin
    Dan y bondo'n fud.

Dranoeth ar y gangen ysig,
  Pan gysgasai'r corwynt blin,
Clybum adlais gwan o fiwsig
    Telyn tecach hin.

Ond ar amrant gyda'r heulwen
  Darfu swyn y delyn hud,
Erys eto'n oer ~~a llaw~~en aflawen
    Dan y bondo'n fud.

Dywed aur y twyni dillyn
  Fod y gwanwyn yn ei grud,
A chyweiria pob aderyn
    Dannau'r delyn fud.

## ARWYL AC ATGOF.

Ddau a dau yn dawel, dawel,
  Tua'r llan yr awn yn syn,
Ac anadlu melys awel
  Ar delynau'r gwenith gwyn ;
Yn y nef ac yn y goedwig
  Cân y telynorion hud,
Ac ni chlywir namyn miwsig
  Uwch ysgrin y delyn fud.

Yn hyawdledd mud y meini
  Erys yr orymdaith fawr,
Ac yng nghraith y creithiog lesni
  Rhoir y delyn fud i lawr ;
Fe offrymir cân a phader,
  Fe offrymir llawer mwy,
Gŵyr y gro a'r gwellt am ddwysder
  Offrwm calon dan ei chlwy'.

Heb fy nghalon rhaid ymlwybro
  Eto'n ol i'r aelwyd lom,
Fel colomen wedi'm clwyfo
  Gyda saeth o fwa siom ;
A mi adref yn myfyrio
  Am a fu ac am a ddêl,
Fe ddaeth atgof i ddarlunio
  Telyn mam a'i miwsig mêl.

Cofiwn, cofiwn, pan orweddai
  Nhad heb obaith cryf i fyw,
Pa mor brudd a dwys y seiniai
  Telyn mam ymhell o'i glyw ;

Ond heb ofid yn ei chalon
  Tynnai fêl o'i thelyn fwyn,
Fel ehedydd hefin hylon
  Yn yr awel uwch y brwyn.

Ar heolydd anial bywyd
  Y mae'r garreg dan y coed,
Heddyw'n hogfaen hud i'm hysbryd
  A mynegai i fy nhroed;
Er i'r gragen frau ei mathru
  Nid yw cân y môr yn llai,
Ac fe bery mam i ganu
  Er i'w thelyn droi yn glai.

*"But O! for the touch of a vanished hand,
And the sound of a voice that is still."—Tennyson.*

A minnau'n fachgennyn di-ofal,
  Ac iechyd yn rhos ar fy ngrudd,
Yng nghwmni ieuenctid yr ardal
  Yn dychwel o garchar y dydd;
Fy hoffedd ar hyd yr heolydd
  Oedd chwarae, a chweryl, a drwg,
Ac wedi dod adre'n yr hwyrddydd,
  Myfinnau oedd fwyaf fy ngwg.

Heb wneuthur fy ngwers na'm gorchwylion,
  A'm golwg yn ddig ac yn flin,
I'm gwely yr aethwn un noson
  Heb gymaint a phlygu fy nglin;
A minnau'n y caddug yn huno
  Yn nefoedd anghofrwydd y byd,
Fe welais angyles yn wylo,
  A'i thelyn yn fud, yn fud.

Ac eiriol yn daer ar ei deulin
  A'i dwylaw ymhleth yr oedd hi,
Fel lili yng nghyfnos Mehefin
  Oedd tremynt ei hwyneb i mi;
Wrth gilio yn araf o'm gwyddfod
  Cyffyrddodd y tant mwyaf prudd,
Fe wylais wrth gofio fy mhechod,
  A throes y tywyllwch yn ddydd.

Trannoeth yn 'r ysgol bum foesgar,
  Bum nodded i blentyn tylawd,
Ac wedi dod adref yn gynnar
  Bum ufudd i'm chwaer ac i'm brawd;
Fe gludais negesau yn ddiogel,
  A digon o gynud a glo,
Ac yna'n y gegin yn dawel
  Fe ddysgais fy ngwers yn ei thro.

A thrwmgwsg ar f'emrynt clöedig,
  Daeth rhywun yn nyfnder y nos
A'i thelyn yn ddylif o fiwsig,
  A'i hwyneb yn gawod o ros;
Cusanodd fi'n ddwys a charuaidd,
  Ac yna i'r anwel rhoes lam,
Dihunais o'm breuddwyd nefolaidd
  Dan lefain, Fy mam! fy mam!

# GELYNION CYMRU FYDD.

(Pryddest Gadeiriol y Tabernacl, Caerfyrddin, Calan, 1914).

## ARWEINGERDD.

"*Cymru Fydd—Cymru letach,*
*Cymru fwy—Cymru lanach.*"
—*Elfed.*

Hoff ydyw gobaith o groesi y gorwel
I Eden yfory pell,
Yno mae irddail a rhos fel y cwrel,
Dan lesni ei hwybren well.

Dall ydyw gobaith ynghanol y neithdar
I bicell yr eithin glas;
Oni wnaeth gobaith dwyfolaf y ddaear
Ei fradwr yn ffrind a gwas.

Gymru, wrth godi dy angor mewn gwynfyd
I gyrchu y gorwel cudd,
Oes gennyd nod sydd yn deilwng o fywyd
Dy ddewrion a fu, a fydd?

"Duwies gwybodaeth a'n llywia yn ddiflin
Drwy arogl ei herwau fflur,
Draw dros y gorwel drwy hindda a drycin
I borthladd y galon bur."

Teilwng yw'th lywydd, teilyngach dy borthladd,
  Maent deilwng o'th nerth i gyd.
Cofia, f'anwylyd, bydd raid iti ymladd
  Cyn cyrraedd y fangre glyd.

Gymru'r dyfodol, ar waethaf d'elynion
  A'th fradwyr ar hyd dy daith,
Cadw ddwyfoldeb uchelgais dy galon,
  A chadw dy gân a'th iaith.

## EFNISSIEN.

Yn ieuenctid Cymru hawddgar,
  Cyn i brudd-der guddio'i gwên,
Fe flagurodd addewidion
  Ym mreuddwydion hud ei llên.
Yn nramau y Mabinogion
  Y mae chwarae llon a blin,
Ac fe welir De a Gogledd
  Yn ymdaro yn y drin.

Denfyn drama bywyd Branwen
    Heli'm calon tros fy ngrudd,
Mae mor llariaidd a cholomen,
  Ac mor bur a gwawr y dydd.
Ond cyd-chwarae ar y llwyfan
  Mae Efnissien unlliw'r nos,
A'i genfigen esyd amdo
  Yng nglan Alaw am y dlos.

Llawer Nissien fegaist, Gymru,
  A heddychai'th fywyd tlawd
Gyda llawer i Efnissien
  A wnai frawd yn elyn brawd.

Gwyn dy fyd, mae un Efnissien
  Yn yr Ynys Werdd yn fud ;
Ond gwenwyno gwaed dy galon
  Mae ei greulon dras o hyd.

Bu Efnissien megis arglwydd
  Ar fyddinoedd dewr fy ngwlad,
Ac fe chwarddai ar ben Cymro
  Yn lladd Cymro yn y gâd.
Er mor fechan weithion fyddo
  Cynulleidfa Eglwys Dduw,
Gwelir beunydd fod Efnissien
  Yn frenhinol ynddi'n byw.

Gymru Fydd ! mawrha ddeisyfiad
  Calon glwyfus Cymru Fu ;
Nid i'w gadw, ond i'w gladdu,
  Rhydd i ti Efnissien ddu.
Fel y bu, fe bery eto'n
  Elyn dy elynion blin,
Ac ar lawer i lan Alaw
  Gyrr d' obeithion i'w hysgrin.

## Y CORANIAID.

Prysuraf trwy gaddug yr oesau
  I neuadd y castell fin nos,
I ddawnsio, a chanu, a chwerthin,
  A'r gaeaf ar ddyffryn a rhos.
Ger tanllwyth o fawn mae rhianedd
  A gwyrda yn ddarlun mwynhâd,
A'r hyddysg gyfarwydd a edrydd
  Ramantau a chwedlau ei wlad.

Mal gardd o flodionos tan niwlen
  Yw'r hanes a edrydd mor goeth,
A llefair yn esmwyth mal ffrydlif
  Am ormes "rhyw genedl a ddoeth."
Gan gymaint a wyddai'r Coraniaid,
  Ni ellid llesteirio eu hynt;
Nid ydoedd ymadrodd nas gwypynt
  Yn llwyr os cyfarffai a'r gwynt.

Ffarweliais a neuadd y castell,
  Mewn hiraeth gadewais ei hud,
Tan ofyn, ai dewin ai proffwyd
  A'n cadwai ni yno mor glyd?
Os meirw gormeswyr y chwedyl,
  Mae gormes gyffelyb yn awr;
A rhaid i ti, Gymru, ochelyd
  Coraniaid a'u gwybod mor fawr.

Fe welais fachgennyn dirodres
  Yn gadael hen fwthyn ei dad;
Enillodd ei radd ag anrhydedd
  Yng ngh(† ) ngholeg athrofa ei wlad.
Fe gafodd gynorthwy gwerinwyr
  I'w godi o'i dlodi i'r lan,
A llonder a lanwai bob calon
  Wrth glywed ei lwydd yn y man.

Daeth adref i'r bwthyn eleni,—
  Daeth adref fel brenin y llys,
A gwydrau o aur ar ei lygaid,
  A modrwy o aur ar ei fys.

Gan gymaint ei wybod, nis gwelir
  Yn siarad a'i gyfoed fel cynt,
A synna yr ardal fod bwthyn
  Y tlotyn yn dal y fath wynt.

Bu gynt gyda'i riaint yn cerdded
  Tan gochi y llwybryn bach cul
Arweinia yn ddyrys drwy'r eithin
  I santaidd addoldy y Sul.
Gweinidog tlawd "llan y mynydd"
  Fu iddo yn haelaf ei law;
Ond weithion gan gymaint ei wybod,
  I gor ei rieni ni ddaw.

Fe sieryd mewn dirmyg o grefydd
  Mynychwyr yr ysgol a'r cwrdd,
A dywed nad yw ond ofergoel
  A ddylid ei thaflu i ffwrdd;
Ond teimla'n ofergoel Rhufeiniwr
  A Groegwr hudoliaeth a swyn,
A gwawdia hen gredo'i rieni,
  Aberthodd eu hun er ei fwyn.

Ti Gymru a fydd, paid melltithio
  Gwybodaeth am fywyd fel hyn,
Ond cofia mai'r un ydyw'r heulwen
  Addfeta y blodau a'r chwyn.
O'th goleg dy hun, fy anwylyd,
  Daw bendith a melldith ynghyd,
A Lludd a Llefelys a gaffot
  I ladd y Coraniaid mewn pryd.

## Y DDRAIG WEN.

Mal gwaneg dan fflangell y corwynt
Yn nannedd y greulon graig,
Engiriol ddiaspad ein draig a roes
Dan ormes estronol ddraig.

Ond Lludd oddiamgylch y gerwyn
A welaf yn plygu'r llen,
Ac ynddi fe ddug y ddraig wen a'r goch
I gysgu'n Eryri Wen.

Ond dywed y Berwyn a'r Gader,
Eryri a dd'wed ei hun,
A dywed yr adfail ar ael y bryn,
Cyn fyrred a fu eu hun.

Bu coelcerth o foelwyn i fynydd,
Bu borffor y gwndwn glas,
A'n draig yn dolefain drwy'r hirnos ddu
Ar feddrod y Llyw a lâs.

Os distaw yw'r fagnel a'r darian,
A dyfnlas y ddol a'r nen,
Os nythu yn iorwg yr adfail mae
Colomen ag adain wen,

Fe deimli yn fynych, f'anwylyd,
Nad huno mo'r hên ddraig wen,
Ond llithia yr estron a'th blant dy hun
I'th glwyfo a gwawd a sen.

Wyd genedl anheilwng o hawliau,
  Anheilwng o barch a bri,
A phicell ynghalon y fyddin hon
  Yw heniaith d'anwyliaid di.

Rhaid iti aberthu'th nodweddion,
  Aberthu dy beriaith hên,
Sy'n allwedd i hanes dy ramant hud
  Ac allwedd dy drysor llen.

Wrth glywed dy enw, f'anwylyd,
  Y corach a grych ei ffroen,
A'th addef ei genedl i lawer un
  Sydd orchwyl o ormod poen.

Ti, Gymru a fydd, fe'th ormesir
  Gan alon y tafod sur ;
Ond rho gydymdeimlad hael i bob un,
  Fe ladd pan na chlwyfo dur.

## Y GWR LLEDRITHIOG.

Son a wnai'r cyfarwydd doeth,
  Son yn gynnil gyfrin,
Am y gwr lledrithiog gynt
  Ddygai arlwy'r brenin.
Rhuthrai i mewn yn nfwn y nos
  Wedi'r ddawns a'r canu,
Ac fe hudai'i ledrith tew
  Wŷr y llys i gysgu.

Ond a Lludd yn gwylio'r nos
  Yn ei briod berson
Nachaf ! didrfawr wr yn d'od
  Gydag arfau trymion.
Arlwy'r llys yn gyfan mewn
  Cawell fach a roddes ;
Yna Lludd a'i cyrchodd ef
  Oni orfu'r ormes.

Llawer i ledrithiog wr
  Borthaist, Gymru dirion,
Nid ag arlwy bwyd a llyn,
  Ond a gwaed dy galon.
Gwaedu yw eu chwarae hoff,
  Gwaedu'r diamddiffyn ;
Llefa'r petris ar y maes,
  Llefant yn y bwthyn.

Mantell y gormeswr gynt
  Ydoedd hud a lledrith,
Ond yn awr ei fantell ef
  Ydyw aur a rhagrith ;
Caiff efe trwy'r fantell hon
  Rodio mewn anrhydedd,
Ac ni bydd yn fynych raid
  Ofni cosb am drosedd.

Pan ddel noson Dewi Sant
  Rhaid cael cwrdd i'w gofio,
Gyda'r gwr lledrithiog du
  Yn gadeirydd arno.

Sieryd ef mewn estron iaith,
  Ond Cymraeg a fola,
Ac ar ben yr oll fe chwardd
  Yn ei "*Saxon Villa.*"

Cyn dewisir testun cerdd
  Mae efe'n anhepcor;
Chwysa'r bardd, a chwardd y byd,
  Uwch testunau'i bwyllgor.
Gan fawrhydi'r lledrith wr
  Cymru Fydd a flinir;
Arlwy llên y flwyddyn gron
  Ganddo a ddifwynir.

"Ysbryd gwlad! os bradog lu
Câs lwyth fu'n ceisio'i lethu,
Iddo trwy hyn ni ddaw tranc,
Heb ddiwedd y bydd ieuanc!"

—*T. Gwyn Jones.*

Cenais i ormes d'elynion, f'anwylyd,
  A chenais i lawer un;
Ond ni bydd gelyn cyn waethed a'th fywyd
  Llygredig a mall dy hun.

Purlan fo'th fywyd, ac yna bydd dewrion
  A orfydd d'elynion blin;
Arthur a ddychwel o Ynys Afallon
  I'th nerthu yngwres y drin.

Cofia, f'anwylyd, cyn chwifio dy luman,
  Na chwyd ond o Gymru dlos
Ieuan o Wynedd ac Emrys ap Iwan
  I'th wylio bob dydd—bob nos.

Medrod, Efnissien, a gormes lu aflan
  Dinodedd a gwarth a gudd ;
Byw fydd ein Harthur, ein Hemrys, a'n Hieuan,
  Ynghalon y Gymru fydd.

Hoff ydyw gobaith o groesi y gorwel
  I Gymru'r yfory pell ;
Yno mae irddail a rhôs fel y cwrel
  Dan lesni ei hwybren well.

Gymru'r dyfodol, ar waethaf d'elynion
  A'th fradwyr ar hyd dy daith,
Cedwi ddwyfoldeb uchelgais dy galon,
  A chedwi dy gân a'th iaith.





IS-GADBEN GWILYM WILLIAMS.

## GWLADGARWCH.

"O! golud sanctaidd Gwalia
Yw pryderon dynion da.
Y mae aberth ei meibion
Yn drysor anhebgor hon;
A nawdd well i'w chynydd hi
Yw Arwyr na'r Eryri."

—*Elfed.*

Pan rodiwyf ar lwybrau fy henwlad,
Ar encil y mynydd a'r fro,
Mae adail a ddwg y gwladgarwr
Ei weddi a'i obaith i'm co';
Can's yno ynghochni y llwybyr,
Yn hiraeth yr emyn fyw—
Fe welaf fod Cymru yn caru
Ei hunan drwy garu ei Duw.

Pan elwyf i ysgol y pentref,
I garchar fy mebyd, am dro,
Ei llyfrgell a ddwg y gwladgarwr—
Ei weddi a'i obaith i'm co';
Can's heddyw ynghwmni ein Ceiriog
Mae'r ysgol fel aelwyd i'r plant,
A thlysed yw gweddi y bychain
Am fywyd fel bywyd y nant!

Pan rodiwyf yn nyfnlais yr eigion
 Mae adail yn ymyl ei ro
A ddwg weddiau ac aberth
 A garent fy henwlad i'm co'.
Can's yno yngwynfyd ieuenctid
 Mae bechgyn a merched yn sôn
Am draserch Ap Gwilym at Forfudd,
 A hiraeth Goronwy am Fôn.

Pan welwyf athrofa y werin
 Yn uno fy nghenedl i gyd,
Mae gweddi ac aberth gwladgarwyr
 Yn dyfod i'm meddwl o hyd.
Can's yno mae amaeth a glöwr
 A'u canu yn denu y byd,
Ac yno mae llenor a phrydydd
 Yn siarad fy heniaith o hyd.

O Gymru ! mae dewrion yn huno
 Gollasant eu gwaed drosot ti,
Ac am dy anwylo a'th garu
 Fe hun a gollasant eu bri.
Ond heddyw fel gwanwyn yn galw,
 Yn curo ar fryncyn a phant,
Mae cariad ac aberth dy ddewrion
 Yn deffro, yn codi dy blant.

Pan rodiwyf ar lwybrau fy henwlad,
 Ar encil y mynydd a'r fro,
Fe welaf a ddwg y gwladgarwr
 Ei weddi a'i aberth i'm co'.

Can's yno mae blodau gwladgarwch
  A gobaith yn nhlysni eu gwawr,
A'u harogl yn fêl ac yn fywyd,
  I Gymru'n ddeffroad yn awr.

" Er mwyn eu gwlad, er mwyn gwlad eu tadau,
Rhuthra cedyrn i ryferthwy'r cadau."

—*Elfed.*

" O Belgique, o mère chérie
  A toi nos coeurs, à toi nos bras,
A toi notre sang, O Patrie,
  Nous le jurons tout tu vivras !"

—*La Brabançonne.*

" Felgium, fam, ti yw'n hanwylyd,
  Mae'n bron a'n braich i ti, i ti,
Wlad ein tadau, i ti'n bywyd,
  A byddi byw, fe dyngwn ni."

Hwnt i'r mor dan gnydau trymion
  Teg yw meusydd Belgium draw,
Heb un cwmwl yn ei hwybren
  Ond y cwmwl glaw ;
" Clod y cleddyf yw segurdod,
  A'i anrhydedd ydyw rhwd,"
Medd y ddaear fu'n anialwch
  Heddyw dan ei chnwd.

Felgium Fach, ger Ffrainc a'r Almaen,
Distaw, distaw'r wyd yn awr,
A'th ymddiried yn anrhydedd
Dy gym'dogion mawr.
Mae'th fedelwr yn cyweirio
Ei beiriannau'n wyn ei fyd,
Ac yn gwylio'r lliwiau'n newid
Ar y meysydd yd.

A'r wenithen aur yn galw,
Ac yn plygu'i phen yn dlws,
Cura trais yn nillad cyfaill
Heno wrth dy ddrws.
Fe'th gusana di 'r diniwed,
Ac fe sathr dy ffin dan draed ;
Felgium fach ! mae'n rhaid it' golli'th
Ryddid neu dy waed.

Fel ar hwyrnos dawel hefin
Deffry'r fellten wyllt y byd,
Mae gwladgarwch heddyw'n deffro
Belgium fach i gyd.
Gwell nag anrheg aur y treisiwr
Ydoedd rhyddid ganddi hi,
Dyna bechod Belgium fechan,
Dyna'i bythol fri.

Mae cynhaeaf arall weithion
Ar dy feysydd, Belgium brudd,
A pheiriannau Mawrth yn rhuo—
'N lladd bob nos, bob dydd.

Ugain niwrnod yn yr unfan
  Erys llu y treisiwr ffol,
Dim ond byddin wladgar Belgium
  Yn eu cadw'n ol.

Hwnt i'r mor, dan greithiau rhyfel
  A than draed yr anwar lu,
Erys eto'n gadarn, dawel
  Dan y cwmwl du.
Ond drwy'r byd fel udgorn arian
  Sieryd iaith y croesau mud—
" Yma'r hun a lâs am garu
  Belgium—dyna'i gyd."

Felgium fawr ! mae'th enw'n fiwsig
  Ar wefusau plant fy ngwlad,—
Onid yw eu tadau'n ymladd
  Drosot yn y gad ?
Os yw'th dir dan draed yr estron,
  Myn cyfiawnder Felgium rydd,
Brenin, cyfraith, rhyddid eto
  Ar dy faner fydd.

Hwnt i'r mor dan gnydau trymion,
  Hardd yw meysydd Belgium draw,
Heb un cwmwl yn ei hwybren
  Ond y cwmwl glaw.
Gwell nag anrheg ydoedd rhyddid
  Gan ei dewrion gwladgar hi,
Dyna'i cododd—gwrando, Cymru,—
  I anfarwol fri.

"*A Welshman migrates, but never emigrates.*"

"*Such is the patriot's boast,—where'er we roam,*
*His first, best country ever is at home.*"

Yn unig yn ninas yr estron,
  Daw hiraeth a serch yn awr
I'm gyrru yn ol i'r gorllewin pell,
  I gysgod y Frenni Fawr.

Fel lloer ar y mor yn yr hwyrnos
  I alltud yw Cymru glyd,
A'i lledrith yn llithio a hi mor bell,
  Ac eto'n ei fron o hyd.

Pan fyddo yn nosi'n yr allfro
  Fe wyddwn, fe wn yn well
Fod heulwen a gwynfyd ar fryn a bro,
  Draw, draw'n y gorllewin pell.

Ym mreuddwyd i ardal fy maboed
  Fe rodiaf yn awr am dro,
Lle cwrddaf a adwaen, a'm hedwyn i
  Ar feysydd a llwybrau'r fro.

Mae enw, a hanes, a rhamant
  I'w dolydd a'i bryniau hi,
Ac yno mae Dewi yn canu'n ber
  Brofiadau fy mebyd i.

Mae emyn ar wefus yr hwsmon
  Wrth dorri y gwys a'i og,
Ac adlais ei gân i fy nghalon flin
  Fel awel o dir "Na'n og."

Ac yma cyn gwybod am stormydd,
  Fe'm dysgwyd ar aelwyd dlos,
I roddi fy ngofal i Iesu Grist
  Wrth erchwyn fy ngwely'r nos.

Yn nwylo'm rhieni yr euthum
  Yn brydlon ar fore Sul
I ganu a gwrando y bugail da
  Yn son am y llwybr cul.

Mae'r ddau yn y fynwent yn huno
  Yngeiriau y byd yn awr,
A'r alltud yn diolch eu bod mor fyw
  Ynghalon y ddinas fawr.

Am nodded ac addysg dy aelwyd,
  Am fywyd fy mam a'm tad,
Am lyfrau a llwybrau fy more bach
  Mae'm diolch i ti, fy ngwlad.

Dirmyged yr estron dy heniaith,
  Anwylach yw'n awr i mi;
Nid oes i fy enaid yn llên y byd
  Fel profiad d' emynwyr di.

Ac weithion yn ninas yr estron,
  Ymhell o'th fynyddoedd iach,
Yr wyt yn y glorian, fe wn yn dda,
  O hyd yn fy mywyd bach.

Wrth gerdded ar hyd ei heolydd
  A theimlo ei lledrith hi,
" Mae Cymru'n y glorian " fel llusern wen
  Yn dangos y ffordd i mi.

Mae'm cariad yn darian a'm dyffryd,
  Mae'n wayw a bair i'm gur ;
Can's gelyn i Gymru a'm cartref wyf
  Heb wefus a bywyd pur.

(Anorffenedig).






*Heb rodres wedi'r brwydro*
*Erys a chroes uwch ei ro.*

## BLODEUGLWM AR Y LLI.

(Taith o Aberystwyth i'r wlad ychydig wedi drylliad y *Titanic*).

Ag Ebrill a'i gawodydd,
  Briallu yn y glyn,
A ffrydiau mêl ehedydd
  Yn tywallt ar y bryn;
Ar lwybrau hud atgofion
  Dyheais am fwynhad
Ynghwmni'r telynorion
  Yn encilfeydd y wlad.

Rhamantus lwybryn troiog
  A'm dug i ddyffryn cudd,
Draw, draw o'r dref afrywiog
  Ar fin y waneg rydd;
Ac yno 'ngwydd prydferthion
  Dywedais mewn mawrhad
Na all y cydfydd calon
  A gofid yn y wlad.

A mi rhwng cwsg ac effro
  Ynghanol broydd hud,
Tebygais glywed cyffro
  Uwchben y dyffryn mud;
Yn erw'r yw a'r meini
  Cyfarfu gwŷr y fro
I drwsio'r gwyrddlas lwyni
  A chwynu'r gwely gro.

Olygfa dlos ! wrth dremio
  Ohonof arni'n hir,
Ac atgof yn darlunio
  Fy nghysegredig dir ;
Fe welais er fy syndod
  Yn pasio'r fynwent draw,
Ryw ferch yn niwyg trallod,
  A blodau yn ei llaw.

Ai pasio'r fynwent acw
  Mewn angof wnaeth y ferch
Wrth gofio am y meirw
  Yn nhwymyn hiraeth serch ?
O gam i gam o'r diwedd
  Daeth heibio'r gwyrddlas lwyn
Lle'r oeddwn i yn eistedd
  Ar fin yr afon fwyn.

Aeth heibio heb fy ngweled,
  A phleth o flodau gwyn,
A'i hwyneb tlws cyn wynned
  A'r gwynnaf o'r rhai hyn ;
Ymroddai cor y goedwig
  I wneud y lleddf yn llon,
A chwith gan yr afonig
  Ei gweld mor brudd ei bron.

Cyflymai llam fy nghalon
  Wrth wel'd o'm cysgod clyd
Y ferch yn cyrchu'r afon
  Lle nad oedd bont na rhyd ;

Ac euthum maes o'm hanfodd,
  Gan ofyn yn fy mraw,
Ai dieithr oedd a gollodd
  Ei ffordd i'r fynwnet draw.

Ar hyn fe droes yn welw,
  Gan edrych arnaf fi,
A'i hardd osgeiddig ddelw
  Yn crynu yn y lli ;
Yr oedd pan wylai'n ddistaw
  Yn ddrych o lili'r wawr,
Ac o'i chrynedig ddwylaw
  Syrthiasai'r bleth i lawr.

Yr oedd cwpanau melyn
  A " Na'd-fi'n-angof " llon ,
A phob rhyw ddewis flodyn
  Ynghlwm ar astell gron ;
Ar eu hwynebau trylen
  Rhoes calon loywon wlith,
A gwelwn ar beithynen
  Osodwyd yn eu plith.

" Ewch, flodau bach, i'r eigion
  Lle hun fy mam a'm tad,
Lle'r ewch a pherlau calon
  Eu hunig blentyn mad."

Bwrlymai'r dyfroedd allan
  O ddwfn fy nghalon i,
A chofiais am gyflafan
  Brenhines llongau'r lli ;

Pan ganfu'm cydymdeimlad
  Siriolodd hithau beth,
Ac fe ddechreuodd siarad,
  A'i dwylaw fach ymhleth.

" Amddifad mewn gofidiau
  Wyf yma yn y byd,
A'm tad a'm mam er's dyddiau
  Yngwely'r mor yn fud ;
Mae'm calon drom ar dorri
  O dan ei hingol glwy',
Am na chaf eu croesawi
  Yn ol byth bythol mwy.

Ac O ! na chawn eu claddu
  Mewn bedd yn erw'r llan,
Lle caffai'm cariad harddu
  Y gysegredig fan ;
Pan welais fy nghyfeillion
  Yn trwsio claddfa'r plwy',
Meddyliais yr ai'r afon
  A phleth i'w mynwent hwy.

" Mi wn eu bod yn gofyn
  I'r afon annwyl hon
Am danaf fi a'r bwthyn,
  Adawsant ger eu bron.
A holi'u hanes hwythau
  Ac am eu beddrod oer
A fum, a fyddaf finnau,
  I'r haul, a'r ser, a'r lloer."

" Fy merch, os gwag yw'th aelwyd,
  Na fydd mor drist a chlaf,
Y gaeaf du yw'r proffwyd
  Cywiraf am yr haf ;
Amddifad wyf yn siarad,
  Ni raid it' ofni cam,
Mae Duw o du'r amddifad
  Yn lle ei dad a'i fam."

Diolchodd imi'n serchog
  A'i llais mor daer ag oen,
Am gydymdeimlad gwresog
  Sy'n pylu picell poen ;
Ac yna megis Duwies
  Cyfarchodd ferch y don,
Gan osod ar ei mynwes
  Ei theg oleubleth lon.

Yr oedd wrth araf lithro
  Ar las yr afon gu
  Fel alarch tlws yn huno
  A'i big o dan ei blu ;
Pan f'wyf yn awr yn rhodio
  Ar lan yr eang li,
Dychmygaf weled arno
  Ei hannwyl flodau hi.

## WRTH Y FFYNNON.

Ffynnon fechan, swn haelioni
  A chyflawnder sy'n ei chân,
Ac aneirif yw'r piseri
  Beunydd leinw'i ffrydlif lan;
Uwch ei phen ymysg y deilos,
  Wedi dracht o'i dyfroedd iach,
Ffraeth a chroyw fel yr eos
  Yw telori'r frongoch fach.

Ffynnon radlawn, ei hanwylo
  Mae teuluoedd maes a tho,
A mwynhad i bawb yw gwrando
  Diliau'i chân ar raian ro;
Beunydd ar ei gruddiau gloywon
  Gwelir delw'r lasnen dlos,
A breuddwydio yn ei chalon
  Mae y ser yn nyfnder nos.

Hoff yw'r lili lwys a'r llysiau
  O'i phuredig loyw win,
A phan grino glesni'r caeau
  Ir yw'r borfa gylch ei min;
Er yng-ngwres ac oerni daear
  Trai ac ia ni edwyn hon,
A thrwy'r gaeaf hoff yw'r adar
  O ymolchi ar ei bron.

Beth i lanc yw'r ffynnon gryno
  Yn ei lonnaf ofid trwm?
Onid rhiain dlos yn brysio
  At ei chymar yn y cwm;

Ond dolefa'r henwr briglwyd
  Wedi syllu'n syn i'w lli ;
" Dau bererin a alltudiwyd,
  Ffynnon annwyl, ydym ni."

## Y FYNWENT.

Yn y fynwent gysegredig
  Mewn unigedd dwys yr wyf,
A theimladau calon ysig
  Ganaf dan yr yw a'r llwyf ;
Gwn mai yma cwsg anwyliaid
  I deuluoedd glan fy mro,
Gwyr fy nghalon, gŵyr fy llygaid,
  Pwy orwedda yn ei gro.

Dan y bargod nid oes afiaith
  Nac arogledd yn yr ardd,
Ond fe ddychwel rhai'n, medd gobaith,
  Pan anadlo'r gwanwyn hardd ;
Gynt a chynt y rhed y deigryn
  Oni ddelwa'm calon ffol,
Am y gwn na ddwg y gwanwyn
  Fy nau rosyn byth yn ol.

Yma deffry'r wawr a'r cyfnos
  Odlau mawl yr adar mân,
Ac i'r ywen daw yr eos
  Yn y nos a'i dwsmel gân ;

Ond gerllaw eu hunfa hwythau,
   Gan angerddol hiraeth dwys,
'Chlywaf ddim ond lleddf farwnadau
   I anwyliaid dan y gwys.

Dan yr eira, cudd yw'r brychau,
   Gwyn yw'r glân a gwyn yw'r du,
Gwyn yw'r meirw oll i minnau
   O dan wlith adgofion lu ;
Sul y blodau nid a heibio
   Heb addurno'r beddau hyn ;
Hunwch, feirw, gan freuddwydio
   Am y wawr a'r gynau gwyn.

## Y GOEDWIG.

Hen breswyl cysegredig
   Duwiesau celf a chân
Oedd llannerch hud y goedwig,
   Medd chwedlau Cymru lân ;
Ac ynddi Duwies Barddas,
   Ceridwen, wnai ei thrig,
A gosgordd fawr ei phalas
   Oedd Tylwyth Teg y wig.

Y Goedwig yn y gwanwyn
   Mor llawn o afiaith yw,
Can's iddi daw'r aderyn
   O'r ydlan wag i fyw ;
Felysed yw ei firi
   Ar doriad gwawr y dydd,
A ffraethed yw telori
   Yr awel rhwng y gwydd.

Cyn hir fe ddaw yr Hydref
  I ruddo'r deilos mân,
A chlywir athrist ddolef
  Lle bu y ddifyr gân ;
Ond dlysed ac mor gyfrin
  Edwina dail y coed
Ar drothwy'r gaeaf gerwin
  Mewn cyflawn dwf ac oed !

Pan wisgo'r wig ei glesni
  Yn nhymor serch a chân,
Clyw'r ieuanc rieingerddi
  Llateion Gwener lân ;
Ond henwr mewn dychymyg
  Glyw fiwsig arall fro
Pan guddio deri'r goedwig
  Ei bryd mewn gwely gro.

## Y LILI WEN FACH.

Ar aelwyd aniddos y dyffryn
  Yn nyfnlais y dyfroedd dig,
F'anwylyd a erys ynghyntun
  Dan falchder digartre'r wig ;
Cwsg, uchod mae'r wylan a'i gofwy
  A dry yn ddarogan gwae,
A chlywir lleferydd y drudwy
  Yn brysur o gae i gae.

A'i anadl yn fel ac yn fywyd
  Daeth ysbryd o dir na'n og,
A'r amaeth a ganfu f'anwylyd
  Wrth fyned i'w ar â'i og ;

Fe dreiddiodd moliannau'r deffroad
I'w hundy'n y gobant ir,
A hithau a glybu ei alwad
I ddeffro o'i huno hir.

Blagura ar hiniog ei hundy
Yngwynfyd y nant a'r coed,
A dolef y famog a wrendy
A gwylltion guriadau'i throed;
Os distaw ei blygain a'i osper,
Ac angof yw enw'r bwth,
Daw'r lili eiryog fel arfer
Dan wyrni ei furiau rhwth.

Pan huno llateion y goedwig
Ynghanol y llwytrew oer,
Bydd gem ar ei hemrynt cloedig
Yn ddisglaer yngoleu'r lloer,
A gobaith a gwynfyd ymhobman,
Y lili yn welw'i llun,
A frysia ymhoethder yr huan
I nefoedd anghofrwydd hun.

## SONED I "GLARACH."

Wyd riain y rhianedd glwys eu gwawr,
A deufryn deg yw muriau'th gartref tlws,
Ar draserch antur atad, Neifion Fawr
A dyr ei galon glaf ar drothwy'th ddrws;
Ond yr amaethwr biau'th serch a'th swyn,
A chysegredig yn ei olwg wyd,

Pan gyscych gyntun bach, lliniara'n fwyn
  Arteithiau'r ddrycin ar dy ruddiau llwyd ;
Fe ffy dy gwsg, ac yna'n swn y gân
  A lif o lwyn, a llain, a llannerch gêl,
Fe wisgi di'th amryliw fantell lân,
  Ac arni beraidd sawr y blodau mêl ;
Yng nghwmni Clarach, harddwch hud a hedd
  A gyfyd f'enaid, hwnt i'r byd a'r bedd.

## YSGOLDY PENRHIWLAS.

Gyda rhamant hud o'i chwmpas
  Mor anhraethol dlws a hardd,
Saif Ysgoldy fach Penrhiwlas,
  Yng nghymdogaeth Elfed fardd ;
Heddyw gwylia llu ei chamrau
  Ddysgwyd gynt dan gysgod hon,
Ac wrth syllu ar ei chaerau
  Dychwel adgof dyddiau llon.

Ynddi draw o swyn pob dinas
  Gwelir llu o blantos bach,
Ac fe wefrir bryn Penrhiwlas
  Gan eu nwyfus firi iach ;
A than fywiol aur belydrau
  Mor naturiol ac mor hardd,
Egyr dorau eu meddyliau
  Fel y lili yn yr ardd.

Fwyn Ysgoldy ! Drwy'r gorffennol
  Y cyfrenaist ddysg a moes,
A'th ddysgeidiaeth yn bresennol
  Gerdda'n eofn gyda'r oes ;

Drwy'r dyfodol, aden nefol
  Fyddo drosot, rodd ein Rhi,
Ac ymdorred gwynfyd bythol
  Ar dy araul yrfa di.

## Y FFYNNON.

Ffynnon haelfawr, mae cynghanedd
  Yn dy enw swynol di,
A chyfeilles goreu'r annedd
  Ydwyt fyth a'th loyw li ;
Glas yn awr yw llu o lwybrau
  Gerddais gynt ag ysgafn droed,
Ond parhau mae'th lwybyr dithau
  Goched heddyw ag eiroed.

Hudol gartre'r glanaf lili
  Ydyw min y ffynnon fach,
A thrwy'r flwyddyn ceir gwyrddlesni
  Gylch ei nwyfus ffrydlif iach ;
Ni all Ionawr na Mehefin
  Byth ostegu'i chanig fyw,
Ac ynghanol gaeaf gerwin
  Hoff ymdrochle'r adar yw.

Dig neu ddiddig yw yr eigion,
  Gwgai gynneu, chwardd yn awr,
Glan neu aflan yw yr afon,
  Weithiau'n fechan, weithiau'n fawr ;
Ond nid felly'r ffynnon serchog,
  Ni rydd hi ond gwen a chan,
A phan rua'r gorlif lleidiog
  Ceidw hi ei dwr yn lan.

Ffynnon cariad, haf a gaeaf
  Gwyrddlas ydyw min dy li,
A phan fo yr hin finiocaf
  Twymaf yw dy ddyfroedd di;
A serennog gan obeithion
  Yn y nos yw dyfroedd serch,
Byth ni sych, ni rewa'r ffynnon.
  Dardd o fynwes mab a merch

## HIRAETHGAN.

Ffarwelio wnaeth y blodyn
    A'i arogledd iach,
A llac yw tannau telyn
    Pob aderyn bach;
Ond eto daw'r blodionos
    Dros y ddaear werdd,
A'r adar dan y deilos
    Gyda'u difyr gerdd.

Ein gadael ar ei haden
    Ddarfu'r wenol lon,
A llechu mae'r wenynen
    Yn ei phabell gron;
Ond eto melys firi
    Dan y bargod fydd,
A rhywrai yn cusanu
    Llygaid bach y dydd.

Ond gweled blodyn aelwyd
    Wedi darfod byw,
A gwel'd y man gysegrwyd
    Gan ei weddill gwyw,

A ddwg y dagrau heilltion
Dros fy ngwelw rudd,
Gan frifo'm tyner galon
Gyda'r gofid cudd.

Ai ofer fyddai disgwyl
Am ddatgloi fy nrws
I dderbyn yr un annwyl
Yn y gwanwyn tlws ?
Oferedd holi'r blodau,
Medd fy mhrofiad i ;
" Paham na ddeui dithau
'Nol i'n daear ni ?"

Mae'r blodyn uwch pob camwedd
Hwnt i'r gwynt a'r glaw,
Yn gwasgar perarogledd
Mil rhagorach draw ;
Ni thyr ond ceinciau'r corau
Mwyach ar ei hedd,
A'r awel ddwg farwnadau'r
Afon uwch ei bedd.

## Y LLAETHFERCH.

Pan genir mawl plygeiniol
Min-melys yn y gwydd
Gan gorau'r byd adarol
Ar doriad gwawr y dydd,
A'r llaethferch mal meudwyes,
Neu gornant groew gul,
Ar ei chynefin neges
Dros droiog lwybrau'r dyl.

Ni frifa saeth unigrwydd
  Deimladau calon hon,
Ond llama mewn hapusrwydd
  Ym myd meddyliau llon;
Can's denir hi ben borau
  I ganu'n iach i'r byd
Gan geinder a chan ddiliau
  Rydd anian deg ei phryd.

Canfydda'r bryniau'n llonni
  Dan gusan rhudd y wawr,
A dagrau'r nos yn gloewi
  A gwrido ar y llawr;
Caiff glywed yn y goedwig
  Suadau'r awel iach,
A'r ffrwd o felys fiwsig
  O fin aderyn bach.

Datgana hithau'i hemyn,
  Nis gall barhau yn fud,
Gan dynned tannau'i thelyn
  Yn swyn y moliant hud;
A'r gwartheg ŵyr drwy'r seiniau
  A nofiant yn y gwynt
Fod morwyn min y borau
  Yn dyfod ar ei hynt.

'Nol cyrraedd adref weithion,
  A'i godro'i gyd yn llwyr,
Trydana'i horohian
  Drachefn ym mrig yr hwyr;

A hithau'r fronfraith lafar,—
  Eosig fach yr ardd,
A rydd ei gwin a'i neithdar
  I wrthrych serch y bardd.

Mor hapus yw ei bywyd
  O hyd ar feusydd cân,,
Mor orlawn yw o wynfyd
  Ac asbri'r adar mân ;
Os mud yw cerddi'r mynydd
  Fu'n gwefrio chwŷth y gwynt,
Maent heddyw ar y dolydd
  Yn esgyn megis cynt.

## YN YR HAF.

Cân 'hedydd uwch y bannau
    Ar ei aden laith,
A beunos mewn gobannau
    Cân mwyalchen fraith ;
Irlasa'r llwydion fannau,
A chaethes fach y glannau
A chwery'n fwyn ei thannau
    Ar ei gyrfa faith.

Mae'r gog ymysg y corau
    Dan y deiliog wydd,
A serch a'i lu allorau
    Dan y bargod sydd ;

Mae cor o deg rianedd,
Afallon ar adanedd,
Y gwenyn ant o'u hannedd,
    Gyda thoriad dydd.

Mewn rhwysg ar noson dawel
    Cân yr eos dlos,
A rhywiog yw yr awel
    Gyda min y nos;
Telora'r drwy'r dyffrynnoedd,
Cusana flodau'r glynnoedd,
Dwg neithdar alaw'r llynnoedd,
    A dihalog ros.

Rhydd anain i'r awenydd
    Heddyw winaidd gân,
  A rhodia mewn llawenydd
    Dan y deilos mân;
Uwchlaw eu mwsog grydau,
Sy'n orlawn o fywydau,
Yr adar mewn gwynfydau
    Folant Wener lan.

## I GYFAILL

Yn ennill Cadair ar y "Bwthyn To Gwellt."

Dan sang y blynyddoedd, yn encil y dyffryn,
    Yng ngwynfyd y nant a'r coed,
Os mud y bythynwr, ac isel ei fwthyn,
    A gleision y llwybrau troed,

Mae rhywun er hynny a dwylo caredig
Yn cofio y briglwyd fwth,
A thanna yn dyner ei iorwg a'i mwsog
Dros wyrni ei furiau rhwth.

Mae'r bocs yn yr ardd yn holi am gryman,
A'r berllan yn ffrwytho'n fras,
A'r lili ynghanol y drysni cyn lonned
A'i chymar ar lawnt y plas ;
Canmoler a welodd, a deimlodd ogoniant
Yn llosgi'n y pentwr main,
Ond Simon a ganfu, a deimlodd, a ganodd
Farddoniaeth i fwthyn nain.

## AM LONGYFARCHIAD.

Yn ystafell gudd fy nghalon
Cloais ffrindiau lu,
Yn eu canol cloais Simon,
Cloais anian gu ;
Collais yr agoriad weithion,
Yno byth y byddi, Simon.

## " SILENCE."

There is a silence that confirms,
Another that denies,
And life has taught us all to know
Wherein the difference lies.

One sets aglow a ray of hope,
  And tunes the heart to sing,
The other spreads a cloud of doubt
  With poison on its wing.

A pause—and we saw fairies dance,
  And silver streamlets flow;
That moment's silence told us both
  The all we wished to know.

But when alone, alone I stand
  By sorrow's sacred sod,
Eternal silence speaks to me
  The changeless will of God.

*O'r Ffrangeg (Victor Hugo).*

I beth y gwrandawaf
  Ar adar y maes ?
Mae'r deryn tyneraf
  Yn canu'n dy lais.

Dadguddier neu cuddier
  Y ser gan fy Rhi ;
Mae'r buraf a'i lleufer
  Yn dy lygad di.

Doed Ebrill i wella
  Y gerddi a'i fflur,
Ei tlysach flodeua
  Yn dy galon bur.

Ti'r 'deryn hiraethlon,
A thi'r seren fyw,
Ti flodyn y galon,
D'enw—cariad yw.

## BREUDDWYD.

Rhodiaf ger y tonnau
Yn fy ngwallgof nwyd ;
Gwelaf ar y creigiau
We y copyn llwyd.

Rhua'r mor terfysglyd
Yn y dymestl gref,
Chwery ef mewn gwynfyd
Fry ynghanol nef.

Awel dro a chwythodd
A'i dolefus gri,
Gwingai bywyd—suddodd
I ddidostur li.

Minnau fu'm hapusddyn
Yn y nef uwchben,
Yno 'nghrog wrth linyn
Cariad calon Gwen.

Gyda'm bun eoslais
Mêl fu llawer mis,
Ac erioed ni chlywais
Swn y dyfnder is.

Torraist d'amod, Gwenno,
  Draw ynghladdfa'r plwy',
Ac nid oes a'm cadwo
  Yn y nef yn hwy.

Cyn i'r mor caredig
  Oeri'm calon wan,
Daeth rhyw angel unig
  I fy nwyn i'r lan.

O fy nghwsg, gan ddagrau
  A chusanau Gwen,
Fe ddeffroais innau
  Yn y Wynfa wen.

## CAN SERCH.

Gwrando, gwrando ar sisialon
  Awel min y nos,
A chei glywed cri fy nghalon,
  Fy ngenethig dlos.

Cofio, cofio mae fy meddwl
  Am y cilwg cas,
A achosodd y fath gwmwl
  Yn fy wybren las.

Trueliaf, treuliaf oriau hirion
  Heno ar ddihun,
Fel tyllhuan brudd a'm cwynion
  Am fy mun, fy mun.

Allwedd aur fy ngwynfyd weithion
  Sy'n dy feddiant di;
Dwyfol wên a gwin dy finion
  Ydyw'm bywyd i.

## DARLUNIAU.

Dan lenni'r cymyl weithion
  Ymguddia'r mynydd gwyn,
A phrudd yw gwedd y ffynnon
  Ar ystlys oer y bryn.

Ond pan ddaw haul Mehefin,
  Yn swn ehedydd syw,
Bydd glesni dwfn a chwerthin
  Yn llon'd ei llygad byw.

Dyferyn bach ! fy Morfudd,
  O fywyd ydwyf fi,
Yn adlewyrchu beunydd
  Dy wg a'th wenau di.

---

Mae genyf ystafell
  Nas cenfydd y byd,
Ac ynddi y cloaf
  A garaf i gyd.

Ychydig a wybu
  Y ffordd iddi hi,
A methaf ddyfalu
  Sut y gwyddet ti.

Fe gollais yr allwedd,
  Maddeua y tro ;
Nid oes ar y ddaear
  A ddetyd y clo.

---

Os yw llwytrew nos awelon
  Yn prysuro bywyd rhos,
Angerddola eu breuddwydion
  Am y wawrddydd dlos.

Er i farrug nos trallodion
  Ddifa gwrid fy ngruddiau rhos,
Rhown y byd am y breuddwydion
  Gefais yn y nos.

---

Nid yw'r alarch tlws yn gwybod
  Sut i ganu'i delyn fwyn,
Hyd nes gwel'd o hono'i feddrod
  Is y geulan frwyn.

Ni all prydydd yntau fedru
  Y felysaf gan a fedd
Oni chlybu serch yn canu
  Hwnt i'r byd a'r bedd.

## PENTREF PENYBONT.

Penybont, bentrefyn gwledig yn y glyn,
Pur yw'th foes a santaidd fel yr eira gwyn ;
Prydferth ydyw Dewi'n chwarae ar dy fron,
Per ei hatgof am dy dangnef ar y don ;

Plant y wlad addolant ynot Dduwies dysg,
Poeth offrymau'r tadau yn dy Deml a lysg.
Prudd yw gwedd y plant a'r dyffryn bach i gyd,
Pan osodir ffrind i huno gyda'th deulu mud.

## PENNILL CADEIRIO

Daniel Jones, Dinas, yn Eisteddfod Penybont.

Am ragori mewn cerddoriaeth
  Yr ennillaist Gadair hardd,
A llawenydd buddugoliaeth
  Ar dy ruddiau nawr a chwardd ;
Boed it' heddwch rhwng ei breichiau,
  Ond paid gorffwys ynddi hi,
Mae cadeiriau a chwpanau
  Lawer yn dy aros di.



# ENGLYNION.

## TRO TRWY FYNWENT ST. TEILO.

(Eglwys y Plwyf, Trelech.)

Yn ara' fy nhroed, ar y fan rhodiaf
Ar lawr anwyliaid—ar le'r hun olaf,
Yn llys ei gweryd, lliaws a garaf,
Ac mor allwynig y miri llonnaf;
Eto o hyd ofer tristaf—fe ddwg Ion
Hwnt i bau hinon ei saint heb anaf.

## EGLWYS ST. TEILO (TRELECH).

Ar dwyn rhwng y gwyrddion lwyni—yn [illegible]
Su anorffwys Dewi;
Mae Teilo lwys—teml moli
'R unig gysegredig Ri.

## TUA'R GRO.

I Ben-y-bont o boen y byd—i lain
Lwys ddiadlam bywyd,
Fe aeth y claf o'i fwth clyd
I drig oer—hundy'r gweryd.

## FY LLYFR EMYNAU.

Drwy'm hynt a'm helynt i mwy—i'm henaid
Daw mwyniant o'i arlwy ;
Wrth uwch nerth a chynorthwy
Hwn, bydd f'oes uwch loes a chlwy'.

## AFON DEWI.

Suo'n dlws wna Dewi lân—ar lusael
Carlesi'n ffrwd fechan,
A gedy'r myg adar mân
I ymholi am wylan.

## Y CYFDDYDD.

Ar euraid oror y dwyrain—gwelir
Gwaneg wawl y plygain
Yn torri'n swn cerddi cain
Yr ehedydd ar adain.

## CADEIRIO BARDD.

Rhodied ymraich Ceridwen—diwyllied
Ei allu a'i elfen,
A thrysora'i Walia wen
Gynhaeaf gwyn ei awen.

## Y TEILIWR.

A'i draed ymhleth tan frethyn—y teiliwr
Wna ystol o'i fwrdd hirwyn
I weithio byth a'i bwythyn
Siaced deg i wisco dyn.

## Y BEL-DROED.

Un a fag hoen, nwyf, ac ynni—ydyw'r
Hudol " Bel-droed " inni ;
Ar nawn oer, un iawn yw hi
I'r segur i wresogi.

## DR. LEWIS, MEIDRYM.

Yn ei Fodur mawr o Feidrym a—'n wyllt
Ddydd a nos i'w yrfa ;
Calon y claf a lonna
Llond llwy ford ein Doctor da.

## Y WAWR.

Trwy'r gwyll spïa'r wawr ariant,—eneinia'i
Hanadl fryn a cheunant ;
A thyn afiaith a nwyfiant
Emynau mel min a mant.

## HELYNT F' ANWYLAF.

Eiriandeg loer ! gwrando glaf—am alltud
Ymhellter hiraethaf,
Yn nwfn y nos d'anfon wnaf
I ofyn helynt f' anwylaf.

## DYMUNIAD DA I MISS HELEN ROWLANDS, B.A., CENHADES.

Draw i randir yr India—mae Helen
Am hwylio o Walia ;
O'n golwg ni, O gwylia
Hi dros y dwr, Iesu da.

## LLONGYFARCHIAD I SYR IORWERTH ANWYL.

Anwylyn ei hoff Walia,—a cholofn
Uchela'i Hathrofa ;
Ein Hathro godidog da
Sior urddodd a'r " Syr " hardda.

Y Marchog enwog, unwn—i'w gofio,
Mae'n gyfaill a garwn ;
O wir barch llongyfarchwn
Ei ddod i'r anrhydedd hon.

Syr Iorwerth hoff abertha—ei einioes
I wasanaeth Gwalia ;
A thrwy y doeth athro da
Goleu iach dysg lewycha.

I'w Walia'n hir boed gwasanaeth—y gwr
Garia lamp dysgeidiaeth ;
A llug hon drwy'r caddug caeth
A arweinio'r weriniaeth.

## EGLWYS YNGHANOL MYNWENT.

Dyma le doeth i deml Duw—gwir addurn
Gwareiddiad dynolryw ;
Onid Eden hud ydyw
A chanwyll serch yn llys yw.

## Y DDOL.

Wynfa'r glyn ! adar hudol—a swynodd
Ger seiniau murmurol ;
Erw fras ddyfnlas yw'r ddol
Lawn o ser Olwen siriol.

## ADERYN YR HAF.

Aderyn bach ! o d' eirian big—daw ffrwd
O ffraeth fywiog fiwsig ;
Hardd oriel werdd araul wig
Dania'th gywrain gain ganig.

## Y CYFNOS.

Hwnt i'r don treia y dydd—ar euraid
Ororau'r Iwerydd ;
Daeth oed serch ac annerch gwydd,
A diliau hud aelwydydd.

## BEDDARGRAFF Y MILWR.

Aeth o'i ing i fwth ango'—i wely
Y milwr i huno ;
Heb rodres wedi'r brwydro
Erys a chroes uwch ei ro.

## I'R MOR.

(*Wrth groesi y tro olaf i Ffrainc*).

Po flyngaf fo fflangell y corwynt,
Po wynnaf fo trochion dy li,
Mwy cydnaws dy gwmni i'm henaid,
Melysach dy ganu i mi.

## "NATUR FEL CYFRWNG DIWYLLIANT."

Annwyl Weinidog ac annwyl Gynulleidfa,

WRTH rag-feddwl am y cyfarfod hwn fe'm blinid ynghylch dewis testun cyfaddas i'r amgylchiad. Ymholais ynghylch testunau y cyrddau a fu, a chefais mai ar ddyledswyddau, hen arfer, neu ryw bechod y traethai'r areithwyr. Nid oes ynnof awydd na chyfaddaster ychwaith i'w hefelychu. Rhaid cael profiad a bywyd cyn y bydd min a grym mewn cyngor a cherydd, ac fel rheol mae'r dyn a chanddo hawl i gynghori a cheryddu yn ymddiried ei gyngor a'i gerydd i'w esiampl. Gwyr yn dda na sieryd dim yn hyotlach am fywyd pur nag esiampl y sawl a'i medd. Ni chred y gwir dduwiol mewn bytheirio. Y wrysgen leiaf a distadlaf a ddwg fwyaf o ffrwyth, ac ni cheir nemor ffrwyth byth ar goeden a wastraffo'i nerth ar ddail. Mwynder a fag fwynder, a chreulondeb a fag greulondeb. Gan y dyn mwyn y mae'r creadur mwyn, a chan y dyn gwyllt y mae'r creadur gwyllt fel rheol. Ni raid i'r da a'r duwiol ddigaloni felly, os yw'r oes fel y tybiant yn ffol ac ehud. Dylent gofio bob amser ac ar bob amgylchiad fod deddf dylanwad yn gweithio'n gyfrin iawn, ond yn sicr ac yn rymus er hynny.

Ond hoffwn drin yn awr ar Natur fel cyfrwng Diwylliant.

Credir yn rhy aml, ysywaeth, mai unig gyfryngau diwylliant ydyw dyn a llyfr.. Yn ei frys wrth chwilio gwybodaeth anwybydda dyn ei wir fam, Natur.—Anghofia mai hi yw'r ysgol gyntaf i oleuo ac ehangu ei feddwl, ac a rydd iddo iaith i fynegu ei feddyliau, oherwydd nid yw iaith gan mwyaf, meddir, namyn cyfres o ddarluniau o fyd natur. Gymaint yw mawredd a mawrhydi meddwl dyn fel y defnyddia y mynydd, yr afon, y mor, a holl wrthrychau natur yn gyfryngau mynegiant iddo. Arwydda'r heulwen lawenydd, a'r gwahanol dymhorau dreigliad dyrys bywyd. Ond heddyw dengys cyfundrefn addysg ein gwlad yn enwedig na chydnebydd dyn fod a wnelo natur odid ddim ac addysgu a diwyllio meddwl. Caethiwir y llanc yn awyr fwll yr ysgoldy, ac ni wneid dim yn y gorphennol, ac ni wneir ond cymharol ychydig eto, i ddeffro ei feddwl i geinder lliw a llun yn y byd o'i ddeutu. Dysgir ef o fore tan nos i ddarllen a deall gwaith dyn, ond nis dysgir i ddarllen y llyfr mwyaf gwreiddiol, a gorchestol, y mwyaf amrywiol a rhyfedd, y llawnaf o dlysni a meddwl, yr hynaf eto'r ieuaf, sef Natur. Y mae personoliaeth pob awdwr i raddau helaeth yn ei waith, ac onid yw personoliaeth ei Hawdwr dwyfol yn Natur, ac onid daionus fyddai i ni, yn ddynion ac yn blant, i ddyfod yn fwy cynhefin a'r bersonoliaeth honno? Wrth ysgrifennu yn erbyn cyfundrefn addysg ei oes, dywedai Ruskin fod " Llannerch dawel o goed, neu encilfan yn ymyl llyn, yn werth holl ysgolion y bydysawd."

Onid darlun truenus yw'r amaethwr yn dilyn yr aradr drwy gydol y dydd a chyda'r hwyr yn ymlusgo adref yn hollol ddall i'r rhyfeddodau tlysion a guddiodd dan y gwys. Medr ganu lon'd ei ben ar y Sul.

"Duw mawr y rhyfeddodau maith,
Rhyfeddol yw pob rhan o'th waith,"

pan nad yw erioed hwyrach wedi synnu na rhyfeddu at unrhyw ran ohonno. Ni ddeffry eginyn y wenithen fechan a ddaeth i fynny drwy'r dywarchen oer unrhyw syndod ynddo. Ar frys daearol â heibio'r lili heb ei hystyried ac heb ddysgu doethineb oddiwrthi—heb feddwl ond meddyliau'r awr. Sieryd y friallen yn ofer wrtho, ac ni ddwg cerddi'r wig a'i gwisg brydferth unrhyw wynfyd a gobaith newydd iddo.

Meddylier am dano eto'n cychwyn i'w waith ar fore hefin mwyn, a'r ehedydd bach ar ei aden laith yn tywallt can ar y bryn,—pob telyn yn y deildy yn ddylif o fiwsig,—ar y llawr flodau aneirif yn plygu'n wylaidd dan berlau arian y nos, ysguthan efallai'n trydar yn unigedd y wig gerllaw,—y gog a'i deunod chwai o lwyn i lwyn, y drain yn gwynnu'r cloddiau, ac enfys yn rhychwannu'r cwmwl,—i'w enaid dall anianol, gwastraff, gwastraff ydyw'r holl brydferthwch. Ofer yw harddwch lliw, ofer harddwch llun, ac ofer pob peroriaeth. Medr fyw mewn bydolrwydd mewn bwthyn yn ymyl y nant a'i glyw mor drwm gan "ddwndwr tinciadau'r bunt" fel na chlyw y ffrydlif yn dywedyd wrtho "fod holl greadigaeth enfawr Duw yn teithio tuag adref." Ni chlyw yr afon yn canu beunydd beunos—

"'Rwyf fi yn mynd, o hyd yn mynd,
Ond eto heb dy adael,
'Rwyt tithau'n mynd, fy annwyl ffrind,
Yn mynd ac yn ymadael."

Treulia wythnos i ymbesgu ar lan y mor, ac ni wel yno namyn dyfroedd, a chreigiau, a thywod. Ni

theimla ehangder yn galw am ehangder, a dyfnder yn galw am ddyfnder. Ni chrwydra ei feddwl tua'r gorwel draw lle gwelir " glas y mor yn un a glas y nef." Dyma gyfle iddo ddysgu er ei leshad fod tonnau ac ystormydd mor bell ar gefnfor bywyd fel ar gefnfor natur " na chlywir mo'u swn ar y traeth."

Cyfaddefir, yn ddiau, na ellid dychmygu am ddarlun mwy gresynus a thruenus o dlodi meddwl, ac y mae'n destun syndod ei fod mor wir o gynifer o honom ynghanol gwlad mor hardd. Oni feithriner ei gariad a'i chwaeth gynhenid at brydferthwch natur, tyf y plentyn i fynny ym masnach y byd fel ninnau yn hollol ddall i'w gogoniant. Gwyn fyd na chofiem mai dechreuad pob doethineb a gwreiddyn pob diwylliant ydyw caru'r pethau sydd o'n hamgylch.

Ond er mor ddall ydyw'r mwyafrif o honom i dlysni'r byd naturiol, eddyf llenorion y byd fod gan y Cymro ddawn ac athrylith i ddisgrifio a delweddu golygfeydd natur. Erys Dafydd ap Gwilym ar ei ben ei hun ymysg beirdd y byd fel bardd natur. Gan loywed ei awen, craffed ei ddeall, a beiddgared ei athyrlith, torrodd Dafydd trwy hualau traddodiad mall y beirdd o'i flaen. Ni chymerth arno ei hefelychu mewn nac arddull mydr na thestun. Troes ei gefn ar y fintai a cherddodd ar lwybr disathr. Darganfu felly awyrgylch gydnaws a'i awen lednais. Ffiaidd ganddo oedd twrw trin, tinc tariannau a gwaywffyn gwaedlyd, ond yr oedd yn galon i gyd ynghwmni natur. Plentyn natur oedd, ac fe'i hadnabu ymhob dull a gwedd arni. Bid deg, bid erwin, bid ha', bid aea', mewn hindda a drycin, ymhyfrydai yn ei chwmni. Yr oedd natur yn gysegredig yn ei olwg, ac wrth gyd-ymgomio, wrth

graffu ar ei thegwch dilychwin, wrth wrando ar ei lleferydd mwyn, teimlodd ei awen ysbrydoliaeth a chyfaredd cyfrin, a bu raid iddo "dynnu'r mel o'r tannau man." Yn ei chwmni dihalog anghofiai ei wae a'i wynfyd ei hun, a throes i'w haddoli a chanu ei gogoniant. Mae ei ddisgrifiadau o honi mor gelfydd, mor gynnil, ac mor gryno, eto'n gyflawn, byw, a barddonol fel y mae'n anodd i'r darllenydd eu hanghofio. Ymuna mynegiant a synnwyr mewn aml i linell nes ei gwneuthur yn orlawn o dlysni a swyn. Erioed ni welwyd yng Nghymru gymaint nerth a chelfyddyd wedi ymbriodi mewn un bardd, ac ni ellir astudio'i farddoniaeth heb gyfranogi'n helaeth o'i orfoledd a'i orhyfrydwch yn Natur. Rhydd i'w ddarllenydd loywach llygad i ganfod a theneuach clust i wrando. Yr oedd ganddo "lygad yn gweled anian, calon yn teimlo anian, a dewrder a feiddiai gydfyned ag anian," a bydd byw yn ei gan "tra golcho ton y graian man."

Sylwer am ennyd ar Wersi Natur, ond dylid cofio mai rhywbeth i'w teimlo'n hytrach na'u mynegu ydynt. Yng ngeiriau Wordsworth—

"Away with science and with art,
  Close up those barren leaves,
Come forth and bring with you a heart,
  That watches and receives."

Ffwrdd a gwyddor a chelf,
  Caewch eu tudalennau llymion,
A deuwch allan a chennych galon
  I wylio ac i dderbyn.

Bu Shakespeare yn efrydydd dyfal yn athrofa natur, a gwelodd dafodau'n y coed, llyfrau'n yr afonydd

rhedegog, bregethau'n y cerryg, a daioni ymhob peth. Sylwer ar y dderwen. Pa beth a sieryd wrthym? Dywed ei thyfiant araf-araf am amynedd a dyfalbarhad, ac yn nhrymru'r ystorm gwelir mor sefydlog a nerthol ydyw. Edrycher eto ar yr afon. Dywed ei thaith ddiorffwys tua'r mor am afon bywyd,—y cerryg llyfnion am nerth dylanwad,—y dolydd dyfnlas ar ei glennydd am ddaioni bywyd pur a thlws; ac nid rhyfedd i Ceiriog hiraethu am fod yn "groyw loyw fel y nant." Pregethai'r cerryg yn hyawdl am gadernid a pharhad. Y mae daioni ymhob peth, ac ni raid i unrhyw un, boed dlotyn neu bendefig, fod heb ddysgeidiaeth a llyfr cyfoethog natur yn agored o'i flaen.

Dysg Natur i ni, nid yn unig wybodaeth, ond doethineb hefyd. Perthyn balchder i wybodaeth, ond gostyngeiddrwydd a berthyn i ddoethineb. Rhaid i ddyn wrth y ddau cyn y byddo'n gryf a diogel. Sylwer fel y cyfunir nerth a phrydferthwch yn Natur. Dengys y mynydd gadernid ofnadwy, ond gorchuddir ei gadernid aruthr gan wrthrychau bychain a thlysion. Iaith Natur wrth ddyn ydyw—

"Mynn wybodaeth a doethineb,
Mynn nerth a phrydferthwch."

Os am ehangder, mawredd, a dwyster enaid, os am dyfu mewn cydymdeimlad, mwynder, a hunanaberth, os am ddynoliaeth lydan, ddofn, rhaid cymeryd Natur fel athrawes. Alltudia hi gulni, rhagfarn, a rhagrith, dofa'r nwydau, pura'r chwaeth, a dyrchafa'r meddwl. Gwyn fyd nad astudiai dyn fwy yn athrofa Natur. Safed am ennyd yngwydd y mynydd, ac fe ffy ei falchder a'i rysedd. Yn ei wydd cenfydd nad yw ond plentyn bychan. Edryched i lygad dihalog blodeuyn,

ac fe deimla bicell calon lygredig. Gwrandawed ar gerddoriaeth swynol Natur, oherwydd mai gan fiwsig ddawn i ddofi'r anifail o hyd. Yfed yn helaeth o brydferthwch Natur, ac fe fydd fel dyfroedd bywiol i'w enaid yn nhroion dyrys yr yrfa.

Pan glwyfir dyn gan siom a galar, pan ferwinir ei glyw gan ddwndwr masnach y byd, pa beth mwy dymunol nag unigedd cilfach natur. Yno caiff enaint a balm tawelwch i liniaru'i glwy'. Llecha brad a thwyll ynghalon dyn, ond ni fradychodd Natur erioed yr un galon a'i carodd. Gwrendy hiraeth calon friw heb ei gwatwar. Gwrendy gyfrinach ac fe'i ceidw. Mae mor ddidderbyn-wyneb a'i Hawdwr. Sieryd yr un fath wrth wreng a bonedd—yr un fath yn y cefn ac yn y wyneb, ac os yw dyn am wel'd ac adnabod ei hun, ni chaiff well drych nag unigedd a thawelwch cilfach natur.

Pwyswn fwy ar fynwes dragwyddol natur. Gorphwyswn o ferw'r byd yn ei breichiau i wrando'i hwianganu ym murmur afonydd ac yn nyfnlais y mor ac i deimlo calon yr Anfeidrol yn curo trwyddi. Ymaith a gofid a galar—canwn yn iach i bethau bach y byd, a bydded i ni deimlo'n hunain yn un a mawredd a mawrhydi, a phrydferthwch a chyfrinedd Natur.

Edrycher eto ar Natur yn addoli.

Anaml iawn y ceir ar ei hallor hi ond offrwm o lawenydd. Llon yw ei phlygain, ei mawl boreuol, a llon ei gosper, ei gweddi hwyrol. Hyd yn oed pan rwystro'r niwl i'r wawr dorri'n brydlon, cyfyd cân o lawenydd o'r coed. Pan broffwydo'r fran a'r wylan fod ystorm yn dyfod a phan wgo'r cymyl ar y gorwel a natur i huno tan arllwys llawenydd ; ac

"Er garwed fo'n taranu,
Er dued fyddo'r nos,
Bydd eos bêr yn canu
Mewn hwyl ymin y rhos."

Ond mewn addoliad dynol ceir dau eithafbwynt—y naill yn dristwch llethol, a'r llall yn llawenydd llawn mor llethol. Gwreiddyn y ddau ydyw teimlad direol. Nodwedd amlycaf—rhy amlwg weithiau—y Cymro ydyw teimlad. Dywed amryw feirniaid dysgedig mai rhwystr pennaf y Cymro i ragori mewn barddoniaeth a cherddoriaeth ydyw gormod o deimlad. Wrth roddi'r ffrwyn i'w deimlad cyll ei naturioldeb a'i nerth. Rhaid wrth deimlad, mae'n wir, mewn barddoniaeth, cerddoriaeth, ac mewn addoliad, ond dylid ei reoli i bwynt a phwrpas gan reswm. Cân aderyn fel y cano bob dydd, chwardd blodeuyn fel y chwarddo drwy'r dydd. Efelychwn hwynt a byddwn naturiol ymhob dim.

Yn olaf, tystia Natur am Dduw.

Gwelai'r Rhufeiniwr, er yn bagan, Dduw, neu'n hytrach, Dduwiau yn Natur. Iddo ef cartrefai rhyw ysbryd tu ol i bob ynni gweledig. Gwelai Dduw yn y mor, yn y gwynt, ac yn nhyfiant y glaswellt. Ymffrostiwn ac ymfalchiwn ni yn ein gwareiddiad a'n diwylliant meddyliol ac ysbrydol, ac ni welwn yn Natur na Duw na phrydferthwch—dim ond defnydd gwneuthur ceiniog. Credwn, neu o leiaf, fe ganwn fod "Duw yn llon'd pob lle a'i wyneb ymhob man," ac ar yr un pryd edrychwn i fynny hwnt i'r wybren a'r ser am dano. Ni welwn ef yngwrid y rhosyn, yng ngwynder y lili, ac yn y tlysni dihalog o'n deutu. Tueddwn i feddwl mai ymhell a thuallan i ni y mae

pob mawredd a thlysni. Byddai'n fendith i ni gofio nad oes nac anialwch nac Iorddonen rhyngom a gwlad yn llifeirio o bob prydferthwch. Nid oes ond dallineb ac afon leidiog hunanoldeb. Ymestyn paradwys o brydferthwch dwyfol o'n blaen beunydd, ond mor wir ydyw'r adnod,

"Y pur o galon a wel Dduw."

Mae gwrthrych yn hardd, meddir, oherwydd rhywbeth harddach nag efe'i hunan a anadla ynddo ac a fydd byw byth. Dylai dyn deimlo, canfod, ac adnabod y rhywbeth harddach hwnnw. Yng ngwydd y prydferth dylai deimlo rhyw bresenoldeb dwyfol yn codi meddyliau aruchel ac urddasol ynddo. I'r dyn a chanddo lygad i weled a chlust i wrando, ni thystia odid i ddim yn hyotlach am Dduw na Natur. Ymhyfrydwn fwy yn ei chwmni i weled ei hamcan dwyfol. Crud dwyfol ydyw i fagu a meithrin plentyn dwyfol?

Wrth wrando mewn perlesmair ar anthem orfoleddus natur, dylem gofio nad yw ond adlais gwan o gerddoriaeth gyflawn y cerddor dwyfol. Wrth edrych mewn mwynhad ar dlysni natur dylem gofio nad yw ond darlun bychan yn oriel gelf yr Arlunydd dwyfol. Wrth ddarllen mewn edmygedd farddoniaeth aruchel natur, dylem gofio nad yw ond tinc fechan ynghynghanedd gyflawn y bardd dwyfol.

Dyn ag enaid mawr, llydan, a hwnnw'n gyforiog o brydferthwch, dyna anthem odidocaf, dyna ddarlun tlysaf, dyna gynghanedd lawnaf y byd.

Cragen ydyw'r greadigaeth, meddai'r bardd, ar draeth byd ysbrydol. Gostyngwn ein clustiau i wrando arni, ac unwn yn ei chân.

## [redacted] ALLTUD.

GORFFENNAIS waith y dydd. Bum o flaen twr o fechgyn o naw tan bedwar, ac yn " chwilio'r gwych a hela'r gwall " am ddwy awr wedyn. Weithion mae gennyf orig i mi fy hun, ac yr wyf am ei threulio yng Nghymru. Ar fy silffoedd mae'r beirdd newydd yn llu mawr, ond yma ni chwrddais a nemor un yn gwybod dim am danynt. Gwyr y byd am Verhaeren, ond ychydig iawn a wyr am ei gystal yng Nghymru. Er cymaint o fwynhad a gefais ac a gaf ynghwmni'r beirdd diweddar, nid atynt hwy y trof yn awr. Chwiliaf y llyfryn a'm dug droion, ac a'm dwg heno eto'n ol i'n bro. Ychydig a feddyliais wrth ei daflu i'r bocs y byddai mor annwyl i mi. Ni chynnwys bethau buddugol—yr unig bethau, fel rheol, a ddarllennir gyda blas yng Nghymru. Sylwais, a rhyfeddwn pan oeddwn yn grwt, nad oedd gan ddau o'r awduron goreu enwau barddonol. Tybed nad oedd mynydd neu afon yn agos i'w cartrefi ! Mae'r lleill gan mwyaf yn fynyddoedd, afonydd, a dyffrynnoedd, ac yn y blaen, a'r rhigwm lawer tro yn dangos mor anghymwys yw enw'r bardd.

A mi'n llanc heb wneuthur yr un ymgais, ac yn ddiarwybod i mi, medrwn y rhan fwyaf o hono ar dafod leferydd. Cofiaf fel y cystadleuem ar adrodd am y mwyaf o hono o flaen tan mawr rhyw ddwy droedfedd

o hyd. Heddyw, wedi bod mewn llety'n y dref am dymor hir, mae'm hatgo am y tan yn llawer mwy byw nag am y gystadleuaeth. Wed'yn magodd fy nghynefindra atgasedd mawr tuag at rannau o'r hen lyfr, ac wedi tyfu'n fyfyriwr ni allwn ddygymod a'i orgraff, ei gystrawen, a'i odlau. Heblaw hynny, teimlwn mai rhywbeth anghyffwrdd oedd ei farddoniaeth. Yr oedd arlliw o ddiwinyddiaeth arno, a honno mewn ambell ddarn yn gyfeiliornus iawn. Felly rhywbeth a fu oedd y llyfr hwn i mi. Ond fe ddaeth tro ar fyd, a theimlaf fod ynddo rywbeth yn cyffwrdd, yn cyffwrdd i'r byw.

Pan agorwyf ef, ac y mae'n agor yn yr un man o hyd, gwelaf batrwm fy rhigwm cyntaf. Mae rhif y sillafau ar ddiwedd pob brawddeg, a nod uwch yr acen, a chofiaf mai hi roes y trafferth mwyaf i mi. Dyma fi adref ar unwaith yn dechreu cystadlu, ac yn llunio pedwar pennill wyth llinell ar gyfer eisteddfod fechan. Ar dudalen arall mae emyn fechan a ddwg hen wr annwyl i'm co'. Yn wir, emyn Daniel yw ei henw. Yn y cwrdd ni byddai ef byth yn rhoi rhif yr emyn. Nid oedd eisieu iddo. Gwyddai'r bobl lle i droi cyn iddo godi ar ei draed druan. Ni chafodd nemor ddim addysg, ond wrth weddio lluniai ambell frawddeg dlos, a defnydddiai'r ferf-enw yn bryferth iawn. Gwladwr oedd, a chadernid gwladwr yn ei gymeriad. O falltod a ffug y dref, mor hyfryd ac mor ddaionus i mi yw cael ambell awr ar y fferm gyda Daniel—dyn yr un weddi a'r un emyn.

Hwnt ac yma dof ar draws yr emyn sy'n crwydro o dy i dy. Yr un ydyw o hyd. Bum yn ei chanu fy hun o flaen ambell fwthyn, ac fe fum, ysywaeth, ar ddiwrnod du yn gwrando'i chanu. Atgyfyd hon un

annwyl—un ag y mae mwy o farddoniaeth yn ei henw nag unrhyw lyfr i mi.

Ar dudalennau eraill mae rhywun neu rhywbeth o'r hen fro yn dyfod i'm cof o hyd. Ond dyna ddigon, a bum innau adref, a chwrddais a'r goreu a adwaen ac a'm hedwyn drwy gyfrwng fy hen " lyfr canu."



# ENGLYNION JOHN.

## YSGUBWR SIMNEIAU.

I'n trefydd celfydd was cu—a egyr
I'r mygyn ffroen landdu ;
Un yn byw dan y baw du
Wna'r anedd i eiriannu.

## Y FALWODEN.

Di-asgwrn ac od ei hosgo—ydyw'r
Falwoden sy'n llusgo ;
Pan fydd gwlith yn frith ar fro
Yw hud awr y ddidaro.

## Y CYFNOS.

Orig o daw ar gaead dydd—a hud
Yn hau niwlog geyrydd ;
Ond seren felen a fydd
Yn breinio ei wybrennydd.

## DR. LEWIS, MEIDRYM.

Meddyg di-gynnyg inni—mawr ei barch
Ym mro ber y Dewi ;
Un drodd ei einioes drwyddi
I yrru loes o'n hoes ni.

## YR ARADR.

Llawforwyn y llafurwr—yw'r aradr
Ar erwau'r amaethwr ;
O gam i gam yn llaw'r gwr
Egyr hi gae i'r hauwr.

## Y FRWYNEN.

Ar ei huntroed dan goedwig,—neu ar waen,
Ceir y frwynen ysig ;
Balchder haf heb lwch a drig
Ar y nodwydd grynedig.

## Y FODRWY.

Eurnod llw yr uniad llawen—ar fys
Yw'r Fodrwy fach felen ;
Gem annwyl a rhwysg meinwen
Yw trysor yr allor wen.

## COR DANIEL JONES, DINAS.

Côr dwsmel Daniel y Dinas—gurodd
Holl gorau y cwmpas ;
Rhwng ei " fynd " a *ring* ei fâs,
Rhad arno, curai'r Deyrnas !

## THOMAS LUMLEY, PENYBONT.

Cerddor o'i wadn i'w goryn—yw Lumley,
Aml ei wobrau dillyn ;
Athro cân ein bro a'n bryn
A'i rym ym myd yr emyn.

## Y DDOL.

Y ddol lân yn swn canu,—rhamantus
Yw'r mentyll o'i deutu ;
A'r meillion llon arni'n llu
Yn eiriannaidd serennu.

## BEDD Y MILWR.

Mewn estronol ddol ddi-hedd—mae olaf
Hun y milwr dewrwedd ;
Wylo ni fu ar lan ei fedd,
Na charreg oruwch ei orwedd.



